a phump, a Thri-ugain. A chwedi preintio a chyffredino y Llyfr dygededig wedi ei gyfieithu fellu, Bód i'r Gweinidogion, a'r Curadaid, drwŷ hóll Gymbru ofewn yr Escobaethau dywededig, lle mae'r Iaith Gymbraeg yn gyffredinol, Arfer a dywedŷd cyfan Wasanaeth Duw, yn y Frŷtonaeg neu gymraeg, ar y cyfrŷw ddull a módd ag a orchymmynnir yn ól y Llyfr a gyssylltir a'r weithred hon, iw arferu yn y Saesonaeg heb amgenu dim mewn un drefn neu ffordd oddi. wrth y Llyfr Saesonaeg dywededig: Am yr hwn Lyfr wedi ei gyfieithu, a'i Breintio fellu, y Wardeiniaid o bôb un o'r Plwŷfau dywededig a dalant allan o Arian y Plwŷf yn eu llaw, tuagat wasanaeth pôb rhŷw Eglwŷsau: A chaniadheir iddŷnt yr unrhŷw ar eu cyfrif: A bôd i'r Escobion dywededig, ac iw Sycsessoriaid, neu o leiaf i rŷw dri o honŷnt, osod ac appwŷntio y prîs, ar yr hŷn a gwerthir. A bôd prynnu a chael ymhôb Eglwŷs trwŷ Gymru, y bo cael Llyfr Gweddi gyffredin yn gymraeg, trwŷ Rŷm y weithred hon, un Llyfr arall o weddi gyffredin yn saesnaeg cŷn dŷdd calan Mai, Mîl, Chwechant, a phedair a Thri-ugain, A'r un Llyfr i aros yn wastadol, mewn rhŷw Leoedd cymwŷs yn yr Eglwŷsau dywededig, módd y gallo cynnifer ag a'i deallant gyrchu attŷnt, ar bôb amser cyfleus, i ddarllain a chwilio yr unrhŷw, fel a gallo hefŷd y sawl nad ŷnt yn deall yr Iaith ddywededig, wrth gŷdystyried y ddwŷ Iaith ddyfod yn haws i ddeall y Saesnaeg; Er dim yn y weithred hon, i'r gwrthwŷneb. Ac nes y galler danfon a chael copiau preintiedig, o'r Llyfr dywededig yn gyfreithiol fel uchod, arferer y ffurf gweddi gyffredin a wastadlwŷd drwŷ Barliament cŷn gwneuthur y weithred ymma, fel cŷn hŷn ynghyfrŷw Leoedd o Gymru lle na ddeallir y saesnaeg yn gyfredinol.

Ac fel a cadwer yn ddiogel, ac a cynnalier bŷth goppiau cywir a pherffaith o'r weithred hon, ac o'r Llyfr cyssylltedig gyda hi, ac er ymgadw oddiwrth bôb ymresymmau Rhagllaw: Am hynnŷ gweithreder trwŷ'r Awdurdod Rhagddywededig, fôd i bôb Deon a Chapter o bôb Eglwŷs gadeiriawl, a Cholasawl ofewn Lloegr a Chymru, gaffael tan Sêl fawr Lloegr (ar eu côst a'u traul eu hunain) un coppi cywir a pherffaith o'r weithred hon, ac o'r Llyfr dywededig cŷn y pummed dŷdd ar hugain o fis Rhagfŷr, Mîl, Chwechant, a dwŷ a Thri-ugain; Iw gadw ac iw gynnal gan y Deoniaid au' Chapterau dywededig, a'u Sycsessoriaid yn ddiogel tros bŷth. Ac hefŷd iw ddwŷn allan a'i ddangos ymhôb llŷs Record, cŷn amled ag y gelwir arnŷnt i hynnŷ drwŷ gyfraith. Rhodder hefŷd goppiau cywir a pherffaith o'r weithred hon, ac o'r unrhŷw Lyfr i bôb un o'r Llyssoedd yn *Westminster*, ac i'r Tŵr-Gwŷn, iw cadw a'u cynnal bŷth, gyda Recordau y Llyssoedd dywededig, a chyda Recordau y Tŵr-gwŷn. Iw dwŷn hefŷd i olwg, ac iw dangos ymhôb Llŷs lle bo'r achos yn gofŷn, a'r Llyfrau dywededig hŷn a argreffir tan Sêl fawr Lloegr, a ecsamler gan y cyfrŷw wŷr a appwŷntio Grâs y Brenin i hynnŷ tan Sêl fawr Lloegr, ac a gyfflybir a'r Llyfr Dechreuol gosodedig isod. A bydded iddŷnt allu i geryddu, a chyweirio drwŷ yscrifen, bôb bai trwŷ gamgymmeriad y Preintiwr yn preintio yr unrhŷw Lyfr, a phôb peth cynnwŷsedig ynddo: A hwŷ a siccrhant mewn yscrifen tan eu llaw a'u Sêl, neu dan Law a Sêl rhŷw dri o honŷnt, yn niwedd yr un Llyfr, ecsamio a chymharu o honŷnt y Llyfr hwnnw, a'u bôd yn canfod ei fôd ef yn goppi cywir a pherffaith: A'r Llyfrau dywededig, a phôb un o honŷnt a Siamplerwŷd fel hŷn tan Sêl fawr Lloegr, megis a Rhagddyweded a dybir, a gymmerir, a fernir ac a esponir eu bôd yn ddâ, ac yn ddigonawl yn y gyfraith i bôb rhŷw ddibennau, a pherwŷlion beth bynnag ac a gyfrifir yn Recordau dâ, megis y Llyfr hwn ei hun arddodedig isod; Er un gyfraith neu ddefod ar rŷwfodd yn y gwrthwŷneb.

Profeidier hefŷd na bŷdd y weithred hon, na dim cynhwŷsedig ynddi, yn argyweddus, neu niweidiol i freiniol Broffessawl y gyfraith, yn yr Unifersiti o *Rŷdychen*, am a berthyno i Brebendiaeth *Shipton*, yn Eglwŷs Gadeiriol *Sarum*, unedig, a Chyssylltedig at le yr un Proffessor i'r Brenin, o amser bwŷgilŷdd, gan y diweddar Frenin *Jago* y cyntaf o goffadwriaeth wŷnfŷdedig.

Pro-

Profidier yn oestad lle mae yr unfed Articl ar Bymtheg ar hugain, o'r namyn un deugain Articlau, a cyttunwŷd arnŷnt gan yr Arch.Escobion, ac Escobion y ddwŷ Dalaith, a'r hôll Eglwŷswŷr yn y Confocasiwn a gynhalied yn *Llundain* yn oedran ein Harglwŷdd, Mîl, Pum-cant, a dwŷ a Thri-ugain, er mwŷn gochelŷd amrŷw opiniwnau, ac er sefydlu cŷdsynniad yn y gywir Grefŷdd, yn y geiriau hŷn ŷn canlŷn, sef,

Bôd Llyfr Cyssegriad Arch.Escobion, ac Escobion, ac o Urddiad Offeiriaid a Diaconiaid a osodwŷd allan yn amser Brenin *Edward* y Chweched, ac a Gonffŷrmied yr un amser drwŷ Awdurdod Parliament, yn cynnwŷs pôb peth rheidiol i'r cyfrŷw Gyssegriad ac Urddiad, ac nad oes ynddo ddim o hono ei hun, gau-grefyddol, nag annuwiol, o herwŷdd paham, pwŷ bynnag a Gyssegrwŷd, neu a Ordeiniwŷd yn ôl Cynneddfau y Llyfr hwnnw, er yr ail flwŷddŷn i'r Rhag-ddywededig Frenin *Edward* hŷd yrawron, neu a Gyssegrer, neu a Ordeinier yn ol yr unrhŷw gynneddfau: Ni a farnwn fôd y cyfrŷw ôll wedi eu Cyssegru, a'u Hordeinio yn union, yn weddus, ac yn gyfreithlawn.

O herwŷdd pa ham Gweithreder, A bydded Weithredol drwŷ'r Awdurdod Rhag-ddywededig, fôd pôb sybscripsiwn a rodder, neu a wneler o hŷn allan gan bôb Diacon, Offeiriad, neu Eglwŷswr, neu arall pwŷ bynnag a gymmhellir drwŷ'r gyfraith hon, neu rŷw gyfraith arall sŷ'n awr mewn grŷm, i sybscreibio i'r Articlau dywededig, a ddeallir, ac a gymmerir i gyrhaeddiad, ac a gyfedrŷch (hŷd a berthyno i'r dywededig Unfed Articl ar bymtheg a'r hugain) at a Llyfr a gynnwŷs ffurf a Dull gwneuthur, Urddo, a Chyssegru Escobion, Offeiriaid a Diaconiaid, a' grybwŷllir yn y weithred hon, yn y môdd a Dull, ag a cyrrhaeddai cŷn hŷn i'r Llyfr a osodasid allan yn amser Brenin *Edward* y chweched, yr hwn a grybwŷllir yn y ddywededig Unfed Articl ar bymtheg a'r hugain. Er dim yn y dywededig Articl, neu mewn un gyfraith, neu Ganon arall a ydoedd neu a wnaethwŷd o'r blaen, mewn un môdd yn y gwrthwŷneb.

Profidier hefŷd fôd arferu, a chadw a'r droed etto yn Eglwŷs Loegr, y Llyfr Gweddi gyffredin, a gweinidogaeth y Sacramentau, a Chynneddfau ac Arferion eraill yr Eglwŷs hon o Loegr, ynghŷd a ffurf a Dull Ordeinio, a Chyssegru Escobion, Offeiriaid, a Diaconiaid, yr hwn fu yn arferedig hŷd yn hŷn, ac o'i herwŷdd a sefydlwŷd drwŷ weithred Parliament, yn gyntaf yn yr wŷthfed flwŷddŷn o'r Frenhines *Elizabeth*, hŷd Ddŷdd gwŷl Sanct *Bartholomeus*, a fŷdd ymlwŷddŷn ein Harglwŷdd Dduw, Mîl, Chwechant, a dwŷ a Thri-ugain.

---

## Y RHAG-YMADRODD.

DOethineb Eglwŷs *Loegr* ydoedd, er pan gyntaf y lluniwŷd iddi Liturgi cyhoedd, Cadw cytrwngedd y ddau eithaf, na byddai rŷ-sŷth i wrthod, na rhŷ-blŷg i oddef cyfnewid arno. Canŷs, megis o'r naill du y mae prawf Sathredig yn dangos, dyfu o amrafael anghymmwŷsderau, lle cyfnewidiwŷd (heb fôd anghenrhaid eglur yn peri) y pethau drwŷ bwŷll dâ a sefydliasid, A'r rhai hynnŷ gan mwŷaf yn amlach, a dwŷsach na'r drygau a amcanwŷd eu diwŷgio drwŷ y cyfrŷw newidiad. Fellu, o'r tu arall, yn gymmaint a bôd ffurfiau gosodedig o wasanaeth Duw, a'r cynneddfau, ac Arferion pwŷntiedig iw harfer ynddo yn bethau Indiffrent, a newidiadwŷ, ac a gyffesir eu bôd fellu, Rheswm ŷw eu newid a'u hailweddu a'r ddwŷs a phwŷsfawr ystŷr, yn ôl ag y bo amrŷw angen yr amseroedd a'r achlysŷrau yn gofŷn, môdd y gwelo gwŷr o Awdurdod o amser bwŷgilŷdd fôd yn rheidiol neu yn fuddiol, Fel hŷn y gwelwn ganihadu o'r Eglwŷs yn Nheŷrnasiad amrafael Dywŷsogion o Goffadwriaeth bendigedig, er pan ddechreuodd y Refformasiwn, ar iawn a dwŷs ystyriau yn ei chymmell i hynnŷ, wneuthur y cyfrŷw newidiadau mewn rhŷw bethau ag a farnwŷd yn eu priod amseroedd yn gymmwŷs

mwŷs. Ond fel y bu yn oeſtad ſafadwŷ, yr holl Rannau cyfannol ac hanfodol o honi yn unŷd heddiw, ( yn gyſtal yn y defnyddiau pennaf, ag yn ei lluniaethiad a'i threfn ) Ac a ſafant etto yn gadarn ac yn ddiyſgog, er ymgeiſiadau oſer, a rhuthrau rhychwŷllt a wnaed i'w herbŷn gan rai anwaſtad, ac a ddangoſaſant bôb amſer ychwaneg o ſerch i'w hewŷllŷs a'u helw cymwŷs nag i'r ddyléd ſŷdd arnŷnt i'r Cyhoedd.

Trwŷ ba foddion annaddas, ac i ba ddibennion dwŷs, y daeth bwrw heibio arfer y Liturgi ( er ei fôd yn orchymmynedig drwŷ gyfreithiau y Deŷrnas, y cyfrŷw na ddiddymmwŷd erioed etto ) dros amſeroedd y diweddar helbul dwŷs anhappus, Rhŷ hyſpŷs ŷw i'r Bŷd, ac nid oes gennŷm Ewŷllŷs ymma i'w had-goffau. ond pan ar ddedwŷdd edfrydiad Grâs y Brenin, yr oedd tebygol ymhlith pethau eraill, y dychwelai hefŷd ar unwaith Arfer y Liturgi ( canŷs erioed ni ddiddymmwŷd hi drwŷ gyfraith ) oni wneid cais cyflŷm i'w Rhagflaenu hi ; Y rhai a'u gwnaethant yn fwŷaf Rhan o'u gorchwŷl tan y Gam-rwŷſc ddiweddar, i ddwŷn y Gwerin i ddiflaſſu arni hi, hwŷ a ganfuant y perthynai iddŷnt am y dalai eu Cymmeriad dâ, a'u helw ( oddieithr iddŷnt rwŷdd gydnabod eu hamryfuſedd, yr hŷn beth anhawdd iawn dwŷn y cyfrŷw wŷr iw wneuthur ) a'u llawn egni wrthod ei dwŷn hi i fewn eilwaith. A thuagat hynnŷ taned ar lêd liaws o goeg lyfrau yn erbŷn y llyfr Gweddi Gyffredin, yna ad rifwŷd yr hên wrthreſymmau, ac a arddodwŷd rhai o newŷdd ychwaneg nag a wneithid o'r blaen, fel yr ai yn unchwŷdd eu nifer. Ar fŷr llawer taer ymgais a wnaethwŷd at Râs a Mawredd y Brenin am gael ailchwilio y Llyfr dywededig, a chael newid ynddo, ac ychwanegu atto y cyfrŷw bethau a dybygid yn gymmwŷs er eſmwŷthdra i dyner gydwŷbodau ( y gweiniaid ) yr hŷn beth ein Harglwŷdd Frenin o'i dduwiol duedd i roddi Bodlonrhwŷdd ( cymhelled a thrwŷ reſwm a gellid diſgwŷl ) i'w ddeiliaid ôll, o ba hŷgoeledd bynnag, yn rhwŷddraſol a ganiadhaodd.

Yn yr hon ail-olygiad ni a ymroeſom i gadw yr unrhŷw ardymmer, a welwn ei harferu ar y cyffelŷb achos yn y cyn-amſeroedd. Am hynnŷ o'r amrŷw newidiadau a ddygwŷd ger ein bron, bwriaſom heibio gynnifer ôll yn gyſtal a dywŷſent aflwŷdd ar eu hôl ( megis yn dirgel daro ar rŷw Athrawiaeth oſodedig, neu rŷw ddefod ganmoladwŷ yn Eglwŷs Loegr, neu yn hytrach hôll Eglwŷs Gatholic Criſt ) a'r cyfrŷw na arwŷddoccaent ddim, ond oeddŷnt lwŷrwagſaw a gorwag. Ond y cyfrŷw newidiadau a ddygwŷd attom ( gan bwŷ bynnag, i ba rîth, neu i ba berwŷl bynnag ) a welem ar rŷw feſur yn lleſawl a buddiol ; Nyni o wir barodrwŷdd ewŷllŷs, a ymfodlonaſom ynddŷnt : Nid o herwŷdd ein cymmell trwŷ nerth dadliad i hynnŷ, i'n hargyoeddi a gorfyddai gwneuthur y newidiadau dywededig. Canŷs llawn-ddiogel ŷw gennŷm yn ein meddyliau ( ac wele ni ymma yn proffeſſu hynnŷ i'r Bŷd ôll ) nad ŷw y Llyfr megis yr ydoedd o'r blaen wedi ei ſefydlu drwŷ gyfraith, yn cynnwŷs ynddo ddim yngwrthwŷneb i Air Duw, nag i bur athrawiaeth, na dim na allo Gŵr Duwiol, a chydwŷbod ddâ ei arfer ac ymddaroſtwng iddo, ac na ellir ei iawn amddiffŷn yn erbŷn pwŷ bynnag ai gwrthwŷneho ; Os caniadheir iddo gymmeriad cyfiawn a hŷgar, y cyfrŷw o wîr iawnder cyffredin a ddylid ei roddi i bôb yſcrifennadau Dynnion, yn enwedig y cyfrŷw a oſodir allan trwŷ Awdurdod, ac yn gyſtal a'r cyfeithiadau rhagoraf o'r Scrythur lân ei hun. Am hynnŷ ein diben cyffredinol ni yn hŷn o waith ydoedd, nid bodloni nac un blaid nac arall mewn rhŷw un o'u gofynnion anrheſymmol, ond i wneuthur yr hŷn ir eithaf o'n dealldwriaeth ni, a ddirnadaſom a tueddai fwŷaf at ddeffynniad Heddwch ac undeb yn yr Eglwŷs, i beri parch ac i annog i Dduwioldeb a Defoſiwn ynghyhoedd waſanaeth Duw ; Ac i dori ymaith achlyſur oddiwrth y ſawl a geiſiant ganllaw i wrthddadleu, a chynnhennu yn erbŷn Liturgi yr Eglwŷs. Ac am a berthŷn i'r amrŷwiadau oddiwrth y Llyfr cyntaf, pa un bynnag a'i trwŷ gyfnewidiad, anghwanegiad neu fôdd arall, gwaſanaethed hŷn o gyfrif yn gyffredinol. Gwnaethwŷd y rhan fwŷaf or cyfnwidiadau, naill ai yn gyntaf

er manylach gyfarwŷddo y gweinidogion ar bôb rhan o wasanaeth Duw, a hŷn a wneir yn bennaf yn y Calenderau a'u Rubricau, neu yn ail er adrodd yn gymwŷsach rŷw eiriau neu ddywediadau a arferwŷd gŷnt, drwŷ leferŷdd amlygcach i Dafodiaeth yr amserau presennol, ac er mwŷn egluro yn amlygcach, rŷw eiriau a dywediadau eraill a ddygent arwŷddoccâd amheus, neu a oedd-ent hŷlithr i gamgymmeriad. Neu yn dry-dŷdd, er adrodd yn rhucclach y cyfrŷw Rannau or Scrythŷr lân, a ddoded ofewn y Liturgi, y rhai yrawron a drefnwŷd i'w darllain; Yn enwedig yn yr Epistolau ar Efengylau, ac amrŷw leoedd eraill, yn ôl cyfieuthad diweddaf y Bibl. A barnwŷd yn gymmhesur anghwanegu yn eu gweddus leoedd, rŷw weddiau, a ffurfiau o ddiolch, wedi eu cymmhwŷso i achosion cymwŷs; Yn Bennodawl i'r sawl sŷ ar y Môr, gyda gwasanaeth am fedŷdd y sawl ydŷnt o oedran addfedach; Y rhain er nad oeddŷnt mor ang-enrheidiol pan luniwŷd y Llyfr cyntaf, er hynnŷ o herwŷdd cynnyddiad Anabaptŷsm, a ymluscodd i'n mŷsc ni drwŷ benrhydd-der yr amseroedd diweddar, a aethant yrawron yn angenrheidiol, ac a allent fôd yn fuddiol rhagllaw i fedyddio ein deiliaid yn ein Plan-wledŷdd tros y môr, ac eraill a droer i'r ffŷdd. Od oes a ddeusyfo gyfrif ylpysach o bôb cyf-newidiad yn un rhan o'r Liturgi, cymmered y Boen i gŷd-gymharu y llyfr hwn a'r cyntaf: Ac nid oes ammeu na chaiff weled yn eglur yr achos oedd o'r cyfnewid.

A chan i ni ymegnio fel hŷn i dalu ein dyledswŷdd yn hŷn o orchwŷl pwŷsfawr, megis tan olwg Duw, ac i gymeradwŷo ein purdeb yn y peth ( hŷd ar oedd ynom ) i gydwŷbodau pawb oll; Er bôd yn hyspus i ni mai amhossibl iw bodloni pawb ( pan fo'r amrŷwiaeth o Athrylith, o ffansi, ac o awŷdd elw yn y Bŷd ( ac nad allwn ddisgwŷl a bŷdd i wŷr o ysprydoedd Terfyscus, gor-phwŷllus, a chyndynniog, ymfodloni i ddim o'r dull ymma, a ellir i wneuthur gan neb eraill ond ganddŷnt hwŷ eu hunain: Er hynnŷ igŷd i mae gennŷm obaith dâ am a gyflawnir ymma, ac a examied yn ddiwŷd iawn, ac a gyfiawnhawŷd gan Gonfocasiwnau y ddwŷ Dalaith, a derbynnir ef hefŷd, ac a cymmerir yn ddâ gan gynnifer o feibion Eglwŷs *Loegr* ar sŷdd yn sobr, heddychol a gwîr Gydwŷbodus.

## Am Wasanaeth yr Eglwys.

NI bu erioed ddim wedi ei ddychymygu mor ddiball, neu wedi ei gyfnerthu mor gadarn, drwŷ synwŷr dŷn, yr hwn mewn ennŷd amser nis llygrwŷd: Megis ymhlith pethau eraill, I mae yn eglur ddigon wrth y gweddiau cyffredin yn yr Eglwŷs, yr rhai a elwir yn sathredig Gwasanaeth Duw, Sylfaen a dechreuad cyntaf pa rai, pe chwilid amdanŷnt ymŷsc gwaith yr hên Dadau, fe geid gweled nad ordeinwŷd y gwasanaeth hwnnw, ond er amcan dalonus, ac er mawr dderchafiad duwioldeb. Canŷs hwŷnt hwŷ a drefnasant y matter fellu, fel a darllennid yr hôll Fibl trosto ( neu y rhan fwŷaf o hono ) unwaith yn y flwŷddŷn: Gan amcanu wrth hynnŷ, fôd i'r Gwŷr llen, ac yn enwedig i'r sawl a fyddent weinidogion y Gynnulleidfa, allu ( trwŷ fynŷch ddarllen, a myfyrio gair Duw ) fôd wedi ymddarparu i dduwioldeb, a bôd hefŷd yn aplach i annog eraill trwŷ ddysceidiaeth iachus i'r un peth, ac I allu gorthrechu dadl y rhai a wrthwŷnebent y gwirionedd. Ac ymhellach, fel a galleu y bobl ( trwŷ glywed beunŷdd ddarllen yr Scrythŷr lân yn yr Eglwŷs ) gynnyddu yn wastad fwŷ-fwŷ mewn Gwŷbodaeth am Dduw, a dyfod i garu yn gynhesach ei wîr grefŷdd ef.

Ond er ys talm o flynyddoedd, a darfu newidio, torri, ac esceuluso y Dduwiol, a'r weddus drefn ymma o waith yr hên Dadau, trwŷ blannu i mewn yn eu lle, Hystoriau amheus, chwedlau, Attebion, Gwersi, Ad-wersi gweigion, Coffadwriaethau, a Sene-ddolion, megis yn gyffredinol pan ddechreuid un Llyfr o'r Bibl, cŷn darfod darllein tair

neu

neu bedair pennod o honaw, y cwbl onid hynnŷ a adewid heb ei ddarllen. Ac yn y wêdd hon a dechreuid llyfr *Esai* yn yr *Adfent*, a llyfr *Genesis* yn *Septuagesima*: Eithr eu dechreu a wneid yn unig, heb orphen eu darllen bŷth. A'r un ffunŷd yr arferid am lyfrau eraill o'r Scrythŷr lân. A chyda hynnŷ lle myunneu St. *Paul*, fôd dywedŷd y gyfrŷw iaith wrth y bobl yn yr Eglwŷs ag a allent hwŷ ei dreall, a chaffael llesbâd o'i chlywed; Y gwasanaeth yn yr Eglwŷs hon o Loegr (er ys llawer o flynyddoedd) a ddarllenwŷd yn ladin i'r bobl, yr hwn nid oeddŷnt hwŷ yn ei ddeall; Ac fellu yr oeddŷnt yn unic yn clywed a'u clustiau, ond eu calonnau, a'u hyspryd, a'u meddwl oedd yn ddiadeilad oddiwrtho. Ac heblaw hynnŷ, er darfod i'r hên Dadau rannu y Psalmau yn saith ran, a phôb un o honŷnt a elwid Nocturn, yrawron er yn hwŷr o amser, ychydig o honŷnt a ddywedid beunŷdd, gan eu mynŷch ad.ddywedŷd, a gadel y darn arall heibio heb yngan un gair. Gyda hynnŷ, nifer a chaledrwŷdd y Rheolau y rhai a elwid y Pica, ac amrafael gyfnewidiau gwasanaeth, oedd yr achos fôd mor galed ac mor rhwŷstrus droi at gyfnodau y llyfr yn unig; Megis yn fynŷch o amser a byddeu mwŷ o drallod yn chwilio am y peth a ddarllenid, nag yn ei ddarllen wedi ei gael. Fellu wrth ystyried yr anghymhesurwŷdd hynnŷ, fe a osodir ymma y fâth drefn, fel a diwŷgir yr unrhŷw bethau. Ac er mwŷn parodrwŷdd yn y matter ymma, a tynnwŷd Calender i'r unrhŷw bwrpas, yr hwn fŷdd eglur a hawdd ei ddeall, ymhâ un (hŷd y gellid) a gosodwŷd allan wêdd i ddarllen yr Scrythŷr lân, fel a gwneler pôb pêth mewn trefn, heb wahanu un darn o honi oddiwrth ei gilŷdd. Ac oblegid hŷn a torred ymaith Anthemau, Respondau, Infitatoriau, a chyfrŷw wâg bethau amherthŷnasol, ag oedd yn torri cwrs cyfan darllenniad yr Scrythŷr. Etto gan nad oes fôdd amgen, na byddo ang henrheidiol bôd ymbell reol; Am hynnŷ a gosodwŷd ymma rŷw reolau, y rhai megis nad ydŷnt onid ychydig o nifer, fellu i maent yn rhwŷdd, ac yn hawdd eu deall. Wrth hynnŷ a mae i chwi ymma ffurf ar weddio, ac am ddarllen yr Scrythŷr lân yn gwbl gytunol a meddwl ac amcan yr hên Dadau, ac o lawer yn fwŷ buddiol a chymmwŷs na'r un yr oeddid yn ddiweddar yn ei arfer. I mae yn fwŷ buddiol o achos bôd ymma yn gadel allan lawer o bethau, o ba fawl y mae rhai heb fôd yn wîr, rhai yn amhêus, rhai yn wâg ac o ofer-goel; Ac nid ydŷs yn ordeinio darllen dim ond Pur-wîr air Duw, yr Scrythŷr lân, neu y cyfrŷw a feilir arni yn eglur, a hynnŷ yn y fâth iaith a threfn ag fŷdd esmwŷthaf a hawsaf eu deall gan y darllenwŷr, a'r gwrandawŷr.

I mae hefŷd yn fwŷ cymmwŷnasol, yn gystal o herwŷdd ei fyrred, ac o herwŷdd eglured ei drefn ac o herwŷdd bôd y Rheolau yn ychydig o nifer, ac yn hawdd. A chyda hynnŷ, wrth y drefn hon, nid rhaid i'r Curad wrth un Llyfr arall iw gwasanaeth cyffredin, ond y Llyfr hwn a'r Bibl. O herwŷdd pa ham, nid rhaid i'r Bobl fyned mewn cymmaint o draul am lyfrau ag a byddent amser a fu.

A lle bu ymlaen llaw Ragor mawr wrth ddywedŷd a chanu yn yr Eglwŷsau ofewn y Deŷrnas hon, Rhai yn canlŷn arfer *Salisburi*, rhai arfer *Henffordd*, rhai arfer *Bangor*, rhai arfer *Efrwac*, a rhai eraill arfer *Lincoln*: Yrawron o hŷn allan ni bŷdd i'r hôll Deŷrnas ond un arfer. Ac o barna nêb fod y ffordd hon yn fwŷ poenus, o achos bôd yn rhaid darllen pôb pêth ar y Llyfr, lle o'r blaen o herwŷdd mynŷch ddywedŷd, a gwŷbuent lawer pêth ar dafod leferŷdd, eithr os y cyfrŷw rai a gŷdbwŷsant eu llafur, ynghŷd a'r gwŷbodaeth a gaffont beunŷdd, wrth ddarllen yn y llyfr, ni wrthodant hwŷ y boen wrth weled maint y budd a dŷf o hŷn ymma.

Ac yn gymmaint ag na ellir gosod dim ganmwŷaf mor eglur, ag na chyfodto petruster wrth ymarfer o honaw: I ostegu pôb cyfrŷw amrafael (o chyfŷd yr un) ac am ddosparth pôb rhŷw betruster ynghŷlch y môdd a'r wêdd a mae deall a gwneuthur, a chwblau pôb pêth a gynhwŷsir yn y llyfr hwn; Y rhai a fyddont yn ammeu fellu, neu a fyddont yn cymmerŷd dim mewn amrafael toddion, a ânt at Escob yr Escobaeth, yr hwn

hwn wrth ei ddoethineb a rŷdd drefn, er llonyddu a heddychu y ddadl, trwŷ na byddo y drefn honno yn wrthwŷneb i ddim a'r sŷdd yn y Llyfr hwn. Ac o bŷdd Escob yr Escobaeth mewn dim petruster, yna gall efe anfon am hyspysrwŷdd at yr Arch-Escob.

ER bód yn osodedig fód pôb pêth ar a ddarllennir neu a genir yn yr Eglwŷs yn yr iaith Gymraeg, er mwŷn adeiladu y gynnulleidfa: Er hynnŷ nid ydŷs yn meddwl pan ddywedo neb Blygain a Gosper wrtho ei hun, na ddichon efe eu dywedŷd ymha iaith bynnag a ddeallo.

A phob Offeiriad a Diacon sŷdd rwŷmedig i ddywedŷd beunŷdd y foreuol, a'r Brŷdnhawnol weddi, naill ai yn neilltuol ai ar osteg, oddieithr bôd rhwŷstr arnŷnt trwŷ glefŷd neu o ran achos arall tra anghenrheidiol.

A'r Curad, neu Berson a fo yn gwasanaethu ymhôb Eglwŷs blwŷf neu Cappel, ac efe gartref heb rwŷstŷr rhesymol arno, rhaid iddo ddywedŷd y gwasanaeth hwnnw, yn yr Eglwŷs blwŷf neu y Cappel lle y bo efe yn gwasanaethu, a bód canu clóch iddo ar amser cymhesur, cŷn iddo ddechreu, módd y gallo y neb a fyddo ganddo Ewŷllys ddyfod i wrando gair Duw, ag i weddio gydag ef.

---

## Am Arferion yr Eglwys, pa ham a diddymwyd rhai, ac a cedwir eraill.

OR Arferion arferedig yn yr Eglwŷs, ag y bu eu Codiad o Ordeinhâd Dŷn, Dychymygwŷd Rhai ar y cyntaf o feddwl Duwiol, ac i bwrpas dâ; Eithr trowŷd o'r diwedd i wagedd ac ofer goelion. Eraill a ddaeth i fewn i'r Eglwŷs trwŷ Ddefosion annisbwŷll, ac o Zêl heb wŷbodaeth; Ac o herwŷdd cyd-ddwŷn a hwŷnt ar y cyntaf, cynnŷddasant i'w Cam-arferu fwŷ-fwŷ beunŷdd, a'r rhai hŷn a haeddasant (nid yn unig oblegid eu haflês, ond hefŷd obegid iddŷnt ddallu y bobl yn ddirfawr, a chaddugo gogoniant Duw) eu torri ymaith a'u bwrw heibio yn llwŷr, i mae eraill y rhai er eu dychymmŷg gan ddŷn, etto gweled yn ddâ eu cadw, er mwŷn trefn weddus yn yr Eglwŷs (i'r hŷn beth a dychymmygwŷd hwŷ gyntaf) nid yn llai, nac o herwŷdd eu bôd yn gwasanaethu i adeiladaeth, at yr hwn (medd yr Apostol) a dylid cyfeirio pôb pêth a wneler yn yr Eglwŷs.

Ac er nad ŷw cadw neu esceuluso Arferion o hono eu hun ond pêth diystŷr, etto nid bai bychan yngolwg Duw ŷw troseddu a thorri Urdd a Rheolaeth gyffredin trwŷ gyndynrhwŷdd a dirmŷg. Gwneler pôb pêth yn eich mŷsc (médd S. *Paul*) mewn trefn weddaidd a dyladwŷ: Yr hon drefn nid eiddo pobl Breifat ŷw ei appwŷntio; Am hynnŷ na chymmered nêb arno, ac na ryfyged bwŷntio, na newid un Order gyhoedd neu Gyffredin ofewn Eglwŷs Crist, ond a elwir i hynnŷ, ac a Awdurdodir yn Gyfreithlawn.

A chan fód yrawron amrŷw feddyliau gan bobl o'n hamser ni, hŷd pan debygo Rhai yn fatter mawr o gydwŷbod, ymado ag un drull o'r lleiaf o'u harferion hwŷ, i maent fellu wedi ymroddi iw hên ddefodau; I mae Rhai hefŷd o'r tu arall a'u gwŷn cymmaint ar bôb amheuthŷn, fel a chwennychent newŷddu bôb pêth, a dirmygant yr hên cymmhelled, na fŷdd dim wrth eu bôdd hwŷ ond sŷ newŷdd-bêth; Gwelwŷd yn gymmwŷs na edrychid cymmaint am foddhau a bodloni yr un o'r ddwŷ-lŷw, ag ar wneuthur wrth fôdd Duw, ac ar lês pôb un o honŷnt hwŷ: Ac etto fel na rwŷstrer néb, a aller ei fodloni a Rheswm eglur, Gosodir i lawr ymma Achosion pennodawl, pa ham a bwriwŷd ymaith Rai o'r Arferion nodedig, a phaham yr attelir ac a cedwir eraill etto ymhellach.

Rhai a fwriwŷd ymaith, oblegid cynnŷddasai eu Gorllanw a'u hamlder yn y dyddiau diweddaraf hŷn, hŷd onid aethai eu baich yn anoddef: Am y rhai cwŷnodd S. *Augustin* yn ei amser ef, gynnyddu eu rhifedi mor ddirfawr, hŷd onid oedd Stât y bobl Gristionogawl mewn gwaeth cyflwr o'u plegid, nag oedd eiddo'r Iddewon. Ac ef

a gynghorodd fwŷ ymaith y fâth lau a baich, tra gwasanaethai'r amser i wneuthur hynnŷ yn ddistaw heb dersŷsc. Eithr bêth a ddywedasai S. *Augustin*, pe gwelsei yr Arferion a arferid yn ddiweddar yn ein plith ni, i'r rhai nid oedd y lliaws a arferid yn ei amser ef i'w gystadlu, cymmaint oedd gorllawn lliaws ein Arferion, a bagad o honŷnt mor dywŷll, hŷd pan oeddŷnt yn dyfyscu ac yn tywŷllu yn hytrach nag yn mynegu, nac yn gosod allan ddaioni Crist i ni. Heb law hŷn hefŷd, nid cyfraith Arferion ŷw Efengŷl Crist ( fel yr oedd rhan fawr o gyfraith *Moses* ) ond ffŷdd i wasanaethu Duw, nid yngharchiwed llun neu gyscod, ond yn rhydd-did yr yspryd, gan ymfodloni i gynnifer o Arferion ag a wasanaetha i drefn weddaidd, a Rheolaeth Dduwiol, a'r cyfrŷw a ŷnt gymmwŷs i gyffroi dŵl feddwl dŷn i gofio ei ddylêd i Dduw, drwŷ rŷw arwŷdd eglur ac amlwg iw hadeiladaeth. Ymhellach etto yr achos pwŷsfawroccaf o ddiddymmu rhai Arferion, camarferwŷd hwŷ cŷn belled, mewn rhan o herwŷdd dallineb gau-grefyddol y rhai anghywraint ac annysgedic; Ac mewn rhan drwŷ annigonawl gybydd-dra, y cyfrŷw a geisiant eu helw a'u bŷdd eu hunain, yn hytrach na gogoniant Duw, fel nad oedd agos fôdd i symmŷd y Camarferau, ar pêth yn sefŷll. ond yrawron am y rhai ond odid a Rwŷstrir, o herwŷdd cadw etto rai o'r hên Arferion, Os ystyriant nad ŷw bossibl cynnal Trefn a rheolaeth heddychlawn yn yr Eglwŷs heb rai Arferion, hŵy a gânt yn hawdd weled fôd achos cyfreithlawn iddŷnt newid eu meddyliau; Ac os mawr ganddŷnt fôd yr un o'r rhai hên yn sefŷll, ac yn well ganddŷnt lunio y cwbl o newŷdd. Ond gan iddŷnt ganiadu mai cymmwŷs ŷw cael rhŷw Arferion, diammeu lle gellir yn ddâ arfer yr hên, nid oes Reswm iddŷnt argyoeddi yr hên, yn unic am eu bôd yn hên, heb ddadcuddio eu gwall synwŷr eu hunain; Canŷs os fellu y mae, hwŷ a ddylent roddi parch iddŷnt o herwŷdd eu heneiddrwŷdd; os mynnant ddangos fôd yn hoffach ganddŷnt undeb a chordiad, nag adnewŷddiadau, a newŷddwŷnau, yr hŷn ( cymmhelled ag y gall hynnŷ gydtuno a gosod allan ffŷdd Crist ) sŷdd bôb amser i'w ochelŷd. Ymhellach etto, I'r cyfrŷw ni bŷdd achos cyfiawn i feio ar yr Arferion a adawŷd. Canŷs megis y bwriwŷd allan y rhai a gamarferid fwyaf, ac a oeddŷnt yn faich ar Gydwŷbodau dynnion heb achos: Fellu y lleill a gedwir er mwŷn Rheolaeth ac Ordr, ac a ellir ar achosion cyfiawn eu hamgenu a'u newidio; Am hynnŷ nid ydŷnt i'w barnu yn Unfri a chyfraith Dduw: Ymhellach drachefn nid ŷnt Arferion tywŷll nac aflafar, ond a osodwŷd allan fel y gallo pôb dŷn ddirnad bêth y maent yn ei arwŷddoccau, ac i ba ddeunŷdd a maent yn gwasanaethu; Fel nad rhaid fawr unon a camarferir hwŷ rhagllaw fel y lleill o'r blaen. Ac yn Gwneuthur hŷn nid ŷm yn condemnio un bobl arall, nac yn gosod dim ond i'n pobl ein hun; Canŷs cymmhesur ŷw yn ein barn ni fôd i bôb Gwlâd arferu y cyfrŷw Arferion a welont hwŷ yn oreu, i dderchafu Anrhydedd a Gogoniant Duw, a thebyccaf i ddwŷn eu pobl i fuchedd berffaith a duwiol, heb nag amryfusedd na choelgrefŷdd. A dodi o honŷnt ymaith, Bethau eraill a ganfyddant o amser bwŷgilŷdd eu camarferu, megis yn fynŷch a digwŷdd a'r amrŷw foddion mewn amrŷw wledŷdd yn Ordinhadau dŷnnion

---

## Y Drefn yr Appwyntir darllain y Psalmau.

Y Psalmau a ddarllennir unwaith bôb mîs, fel yr appwŷnteir yno, ar foreuol a phrŷdnhawnol weddiau. ond yn *Chwefror* a darllennir yn unig hŷd yr wŷthfed ar hugain, neu y 29. o'r mîs.

A lle y mae i Fis *Ionawr*, *Mawrth*, *Mai*, *Gorphennaf*, *Awst*, *Hydref*, a *Rhagfyr*, Unarddêg a'r hugain o ddyddiau bôb un; Fe a ordeiniwŷd fôd darllain y dŷdd diweddaf o'r misoedd hynnŷ, y Psalmau a ddarllenwŷd y dŷdd o'r blaen, fel a gallo y Psalmau ddechreu drachefn ar y dŷdd cyntaf o'r mîs

a fyddo'n canlyn.

A lle a cyfrennir y 119 Psalm yn ddwy rann ar hugain, a'u bod yn rhy hir iw darllain ar unwaith; Fe a drefnwyd na bo darllain uwchlaw pedair neu bump o'r rhannau hynny ar yr un amser.

Ac ar ddiwedd pôb Psalm, a phôb rhann o'r 119 Psalm, dywedir yr Hymn ymma.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân; Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awr hon, ac a bydd yn wastad yn oes oesoedd. *Amen.*

Noda, fôd y Psalmau yn canlyn dosparthiad yr Hebreaid, a chyfieuthad y Bibl mawr Seisnig, gwedi ei osod allan a'i arferu yn amser y Brenhinoedd *Hen*. 8. ac *Ed. 6*.

---

## Y Drefn pa wedd yr appwyntiwyd Darllain y rhan arall o'r Scrythyr Lan.

YR hên Destament a osodwyd yn llithoedd cyntaf ar foreuol, a phrydnhawnol weddiau, ac fellu y rhan fwyaf o hono a ddarllennir bôb blwyddyn unwaith, fel yr appwyntir yn y Calender.

Y Testament newydd a osodwyd yn ail llithoedd, ar foreuol, a phrydnhawnol weddiau, ac a ddarllenir drosto mewn trefn bôb blwyddyn deirgwaith, ( heblaw'r Epistolau a'r Efengylau ) Oddieithr Dadcuddiad Ioan, o'r hwn a gosodwyd bôd rhyw Llithoedd cymwys ar amryw wyliau.

Ac i wybod pa Lithoedd a ddarllenir bôb dydd, myn gael y dydd o'r mis yn y Calender yn canlyn, ac yno a cei ddeall y pennodau a ddarllennir yn Llithoedd ar foreuol, a phrydnhawnol weddiau; Oddieithr y gwyliau symmudol yn unig, y Rhai nid ynt yn y Calender: A'r ansymmudol lle a gadewir gwyn yngholofn y llithiau. Llithiau cymwys i'r holl ddyddiau hynny a geir yn y Tabl o'r Llithiau cymwys.

A rhaid yw nodi hyn ymma, pa bryd bynnag a byddo Psalmau cymwys, neu lithoedd wedi eu gosod, yna y Psalmau a'r Llithoedd gosodedig yn y Calender ( os amgenach ) a adewir heibio tros yr amser hynny.

Rhaid yw nodi hefyd, fôd y Colect, yr Epistol, a'r Efengyl a osodir ar y Sul, yn gwasanaethu tros yr holl wythnos rhagllaw, lle ni's trefnwyd yn amgenach yn y llyfr hwn.

---

## Pennodau pwyntiedig A Chymwys i'w darllen ar Foreuol. A Phrydnhawnol Weddiau, Ar y Suliau, Ar Gwyliau eraill trwy'r holl Flwyddyn.

*Llithiau Cymwys a Phwyntiedig i'r Suliau.*

*Suliau yr Adfent.*

1. Boreu Esay 1. Prydnawn Esay 2.
2. Boreu Esay 5. Prydnawn Esay 24.
3. Boreu Esay 25. Prydnawn Esay 26.
4. Boreu Esay 30. Prydnawn Esay 32.

*Suliau gwedi Natalic Crist.*

1. Boreu Esay 37. Prydnawn Esay 38
2. Boreu Esay 41 Prydnawn Esay 43.

*Suliau gwedi'r Ystwyll.*

1. Boreu Esay 44. Prydnawn Esay 46.
2. Boreu Esay 51. Prydnawn Esay 53.
3. Boreu Esay 55. Prydnawn Esay 56
4. Boreu Esay 57. Prydnawn Esay 58.
5. Boreu Esay 59. Prydnawn Esay 64.
6. Boreu Esay 65. Prydnawn Esay 66.

*Sul Septuagesima.*

Boreu Genesis 1. Prydnawn Genesis 2.

*Sul Sexagesima*

Boreu Genesis 3. Prydnawn Genesis 6.

*Sul Quinquagesima, neu Sul Ynyd.*

Bore Genesis 9. h w 20. Prydn. Genesis 12.

*Suliau yn y Grawys.*

1 Bore Genesis 19. h w 30. Prydn. Gen. 22.
2. Boreu Genesis 27. Prydnawn Genesis 34.
3. Boreu Genesis 39. Prydnawn Genesis 42.
4. Boreu Genesis 43. Prydnawn Genesis 45.

5

. Boreu Exodus 3. Prydnawn Exodus 5.
. Bore. 1 Llith Exodus 9. 2 Llith Matth 26
. Pryd. 1 llith Exo 10. 2 llith Heb 5. h.w. 11

*Sul y Pasc.*

Boreu 1 Llith Exodus 12. 2 Llith Rhuf. 6.
Pryd. 1 llith Exo. 14. 2 llith Act. 2. h. w 22.

*Suliau gwedi'r Pasc*

1. Boreu Numeri 16. Prydna. Numeri 22.
2. Boreu Numeri 23, 24. Pryd. Numeri 25.
3. Boreu Deuter. 4. Prydnawn Deuter. 5.
4. Boreu Deuter. 6. Prydnawn Deuter. 7.
5. Boreu Deuter. 8. Prydnawn Deuter. 9.

*Y Sul gwedi'r Derchafael.*

Boreu Deuter. 12. Prydnawn Deuter. 13.

*Y Sul-gwyn.*

Boreu Deut. 16. h. w. 18. Act 10. gw. 34.
Prydnawn Esay 11. Act. 19. hyd wers. 21.

*Sul y Drindod.*

Boreu, 1 Llith Genesis 1. 2 Llith Matth 3.
Prydn. 1 llith Genesis 18. 2 llith, 1 John, 5.

*Y Suliau gwedi'r Drindod.*

1. Boreu Josua 10. Prydnawn Josua 23.
2. Boreu Barnwyr 4. Prydna. Barnwyr 5.
3. Boreu 1 Samuel 2. Prydn. 1 Samuel 3.
4. Boreu 1 Samuel 12. Pryd. 1 Samuel 13.
5. Boreu 1 Samuel 15. Pryd. 1 Samuel 17.
6. Boreu 2 Samuel 12. Pryd. 2 Samuel 19.
7. Boreu 2 Samuel 21. Pryd. 2 Samuel 24.
8. Boreu 1 Bren. 13. Pryd. 1 Bren. 17.
9. Boreu 1 Bren. 18. Pryd. 1 Bren. 19.
10. Boreu 1 Bren. 21. Prydn. 1 Bren. 22.
11. Boreu 2 Bren. 5. Prydn. 2 Bren. 9.
12. Boreu 2 Bren. 10. Prydn. 2 Bren. 18.
13. Boreu 2 Bren. 19. Prydn. 2 Bren. 23.
14. Boreu Jeremi 5. Prydn. Jeremi 22.
15. Boreu Jeremi 35. Prydn. Jeremi 36.
16. Boreu Ezeciel 2. Prydn. Ezeciel 13.
17. Boreu Ezeciel 14. Prydn. Ezeciel 18.
18. Boreu Ezeciel 20. Prydna. Ezeciel 24.
19. Boreu Daniel 3. Prydna. Daniel 6.
20. Boreu Joel 2. Prydnawn Micah 6.
21. Boreu Habaccuc 2. Prydna. Dihar. 1.
22. Boreu Dihar. 2. Prydn. Dihar. 3.
23. Boreu Dihar. 11. Prydn. Dihar. 12.
24. Boreu Dihar. 13. Prydn. Dihar. 14.
25. Boreu Dihar. 15. prydn. Dihar. 16.
26. Boreu Dihar. 17. prydn. Dihar. 19.

---

*Llithau Cymmys a phwyntiedig i bob Dydd Gwyl.*

*Dydd gwyl Saint Andrews*

Boreu Diharebion 20. Prydn. Dihareb. 21.

*Dydd gwyl Saint Thomas Apostol.*

Boreu Dihareb. 23. Prydn. Diharebion 24.

*Dydd Natalic CRIST.*

Boreu Esay 9. hyd wers 8. Luc 2. hyd w. 15.
Pryd. Esay 7. w 10. h w 17. Titus 3. w. 4.

*Dydd gwyl Saint Stephan.* (h.w. 9.

Bor. Diha. 28. Act. 6, w 8. a'r 7 ben. h w. 30
prydn. Preg. 4. Act. 7. gw 30. hyd w 55.

*Dydd gwyl Saint Joan.*

Boreu 1 llith Eccles. 5. 2 llith Datcudd. 1.
Prydn. 1 llith Eccles. 6. 2 llith Datcudd. 22.

*Dydd y Gwirioniaid.*

Boreu Jeremi 31. h w 18. pryd. Doeth. 1.

*Dydd yr Enwaediad.*

Boreu, 1 llith Genesis 17. 2 llith Rhuf 2.
Prydnawn Deuter. 10. w. 12. Colossiaid 2.

*Dydd Ystwyll.*

Boreu Esay 60. Luc 3. hyd wers. 23.
Prydnawn Esay 49. Joan 2. hyd wers 12.

*Troead Saint Paul.*

Boreu Doeth. 5. Actau 22. hyd wers 22.
Prydnawn Doethineb. 6. Actau 26.

*Dydd gwyl Puredigaeth Mair Forwyn.*

Boreu Doethineb 9. prydn. Doeth. 12.

*Dydd gwyl Matthias.*

Boreu Doeth 19. prydna. Ecclus. 1.

*Dydd Cenadwri ein Harglwyddes*

Boreu Ecclus. 2. prydnawn Ecclus. 3.

*Dydd Mercher cyn y Pasc.*

Boreu Hosea 13. Joan 11. gwers 45.
prydnawn Hosea 14.

*Dydd Jou cyn y Pasc.*

Boreu Daniel 9. Joan 13.
prydnawn Jeremi 31.

*Dydd Gwener y Croglith.*

Boreu Genesis 22. hyd wers 20. Joan 18.
prydnawn Esay 53. 1 Peter 2.

*Nos Pasc.*

Boreu Zach. 9. Luc 23. gwers 50.
prydnawn Exodus 13. Hebreaid 4.

*Dydd Llun Pasc.*

Boreu Exodus 16. Matthew 28.

pryd

prydnawn Exodus 17. Actau 3.

*Dydd Mawrth pasc.*

Boreu Exodus 20. Luc 24. hyd wers 13.
prydnawn Exodus 32. 1 Corinthiaid 15.

*Dydd gwyl Saint Marc.*

Boreu Ecclus. 4. prydnawn Ecclus 5.

*Dydd gwyl Saint philip, a Saint Jaco.*

Boreu Ecclus 7. Joan 1. Gwers 43.
prydnawn Ecclesiasticus 9.

*Dydd y Derchafael.*

Boreu Deuter. 10. Luc 24. gwers 44.
prydnawn 2 Bren. 2. Eph. 4. hyd wers 17.

*Dydd Llun y Sul gwyn.*

Boreu Genesis 11. hyd w 10. 1 Cor 12.
pryd. Num 11. gw 16. h w 30. 1 Cor 14. h (w 26.

*Dydd Mawrth y Sul-gwyn.*

B. 1 Sam. 19. gw 18. 1 Thes. 5. w 12. h. w. 24
prydn. Deut 30. 1 Joan 4. hyd wers 14.

*Dydd gwyl Saint Barnabas.*

Boreu Ecclesiasticus 10. Actau 14.
prydn. Ecclesiasticus 12. Actau 15. h w 36.

*Dydd gwyl Saint Joan Fedyddiwr.*

Boreu Malachi 3. Matthew 3.
prydnawn Malachi 4. Matth. 14. h w 13.

*Dydd gwyl Saint Peter.*

Boreu Ecclesiasticus 15. Actau 3.
prydnawn Ecclesiasticus 19. Actau 4.

*Dydd gwyl Saint Jaco.*

Boreu Ecclesiastius 21. prydn. Ecclus. 22.

*Dydd gwyl Saint Bartholomeus.*

Boreu Ecclus. 24. prydnawn Ecclus. 29.

*Dydd gwyl Saint Matthew.*

Boreu Ecclus. 35. prydnawn Ecclus. 38.

*Dydd gwyl Saint Mihangel.*

Boreu Genesis 32. Actau 12. hyd wers 20.
prydn. Dan. 10. gw 5. Jud gw 6. h w 16.

*Dydd gwyl Saint Luc.*

Boreu Ecclus. 51. prydnawn Job 1.

*Dydd gwyl Saint Simon, a Saint Jud.*

Boreu Job 24. a'r 25. prydnawn Job 42.

*Gwyl yr holl Sainct.*

Boreu Doeth 3. h w 10. Heb 11. gw 33. a (phenod 12. hyd wers 7.
pryd. Doeth. 5. h w 17. Datc. 19. h w 17.

Gwybyddwch fod pryd, prydn, neu prydna. yn y daflan uchod yn sefyll am brydnawn neu Gosper; Megis a gwelwch ar ôl Dydd Llun y Sul-gwyn, pryd, Num, 11, gw 16. h. w 30. Yn dangos i chwi fod y Llith gyntaf iw darllain yn y gosper neu brydnawnol weddi ar ddydd Llun y Sul-gwyn, wedi threfnu allan o Lyfr Numeri, yr unfed ar ddeg bennod, gan ddechreu yn yr unfed ar bymtheg wers, a diweddu yn y ddegfed ar hugain wers.

Gwybyddwch hefyd fod h. w. yn sefyll am hyd wers. A lle gwelwch yn y daflan uchod gw. Gwybyddwch fod hynny yn sefyll am wers o ddechreu llith; Megis a gwelwch wrth ddydd gwyl Mihangel, prydn. Dan. 10. gw. 5. Yn dangos i chwi fod y llith gyntaf am y gosper neu brydnawnol weddi ar ddydd gwyl Mihangel wedi ei threfnu allan o Lyfr Daniel, y ddegfed bennod, gan ddechreu yn y bummed wers.

---

## Psalmau Cymmwys a phwyntiedig iw darllain ar ddyddiau pennodol:

*Dydd Natalic Crist.*

Boreu, psalmau 19. 45 85. prydnawn, psalmau 89. 110. 132.

*Dydd Mercher y Lludw.*

Boreu, psalmau 6. 32. 38. prydnawn, psalmau 102. 130. 143.

*Dydd Gwener y Croglith.*

Boreu, psalmau 22. 40. 54. prydnawn, psalmau 69. 88.

*Dydd pasc.*

Boreu, psalmau 2. 57. 111. prydnawn, psalmau 113. 114. 118.

*Dydd y Derchafael.*

Boreu, psalmau 8. 16. 21. prydnawn, psalmau 24. 47. 108.

*Y Sul-gwyn.*

Boreu, psalmau 48. 68. prydnawn, psalmau 104. 145.

## MIS IONAWR SYDD IDDO 31. O DDYDDIAU.

| Yr Euraid Rifedi. | Dyddiau'r Mis. | Llythyrennau'r Sul | BOREUOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | Yr ail Llithoedd. | PRYDNAWNOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | Yr ail Llithoedd | Y *Dyddiau Gwŷlion, a'r dyddiau hynod.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 3 | 1 | A | Genesis 17 | Rhufeiniaid 2 | Deut 10 w 12 | Colosiaid 2 | **Enwaediad Crist** |
| | 2 | B | Genesis 1 | Matthew 1 | Genesis 2 | Rhufeiniaid 1 | |
| 11 | 3 | C | Genesis 3 | Matthew 2 | Genesis 4 | Rhufeiniaid 2 | |
| | 4 | D | Genesis 5 | Matthew 3 | Genesis 6 | Rhufeiniaid 3 | |
| 19 | 5 | E | Genesis 7 | Matthew 4 | Genesis 8 | Rhufeiniaid 4 | |
| 8 | 6 | F | Esai 60 | Luc 3 h w 23 | Esai 49 | Joan 2 hŷd gw. 12 | **Dydd Ystwyll.** |
| | 7 | G | Genesis 9 | Matthew 5 | Genesis 12 | Rhufeiniaid 5 | |
| 16 | 8 | A | Genesis 13 | Matthew 6 | Genesis 14 | Rhufeiniaid 6 | Lucian Merthŷr. |
| 5 | 9 | B | Genesis 15 | Matthew 7 | Genesis 16 | Rhufeiniaid 7 | |
| | 10 | C | Genesis 17 | Matthew 8 | Genesis 18 | Rhufeiniaid 8 | |
| 13 | 11 | D | Genesis 19 | Matthew 9 | Genesis 20 | Rhufeiniaid 9 | |
| 2 | 12 | E | Genesis 21 | Matthew 10 | Genesis 22 | Rhufeiniaid 10 | |
| | 13 | F | Genesis 23 | Matthew 11 | Genesis 24 | Rhufeiniaid 11 | Hilari Esgob. |
| 10 | 14 | G | Genesis 25 | Matthew 12 | Genesis 26 | Rhufeiniaid 12 | |
| | 15 | A | Genesis 27 | Matthew 13 | Genesis 28 | Rhufeiniaid 13 | |
| 18 | 16 | B | Genesis 29 | Matthew 14 | Genesis 30 | Rhufeiniaid 14 | |
| 7 | 17 | C | Genesis 31 | Matthew 15 | Genesis 32 | Rhufeiniaid 15 | |
| | 18 | D | Genesis 33 | Matthew 16 | Genesis 34 | Rhufeiniaid 16 | **Prisca.** |
| 15 | 19 | E | Genesis 35 | Matthew 17 | Genesis 37 | 1 Corinthiaid 1 | |
| 4 | 20 | F | Genesis 38 | Matthew 18 | Genesis 39 | 1 Corinthiaid 2 | Fabian. |
| | 21 | G | Genesis 40 | Matthew 19 | Genesis 41 | 1 Corinthiaid 3 | Agnes. |
| 12 | 22 | A | Genesis 42 | Matthew 20 | Genesis 43 | 1 Corinthiaid 4 | Vincent. |
| 1 | 23 | B | Genesis 44 | Matthew 21 | Genesis 45 | 1 Corinthiaid 5 | |
| | 24 | C | Genesis 46 | Matthew 22 | Genesis 47 | 1 Corinthiaid 6 | |
| 9 | 25 | D | Doethin. 5 | Act 22 h w 22 | Doethin 6 | Actau 26 | **Troiad S. Paul.** |
| | 26 | E | Genesis 48 | Matthew 23 | Genesis 49 | 1 Corinthiaid 7 | |
| 17 | 27 | F | Genesis 50 | Matthew 24 | Exodus 1 | 1 Corinthiaid 8 | |
| 6 | 28 | G | Exodus 2 | Matthew 25 | Exodus 3 | 1 Corinthiaid 9 | |
| | 29 | A | Exodus 4 | Matthew 26 | Exodus 5 | 1 Corinthiaid 10 | |
| 14 | 30 | B | Ex. 6 h w 14 | Matthew 27 | Exodus 7 | 1 Corinthiaid 11 | **Br. Ch. Ferth.** |
| 3 | 31 | C | Exodus 8 | Matthew 28 | Exodus 9 | 1 Corinthiaid 12 | |

Yr achos paham a gosodwŷd y dyddiau Gwŷlion, a'r dyddiau hynod yn y golofn ddiweddaf o'r mis, ŷw, er mwŷn dyfod a'r colofnau eraill yn nês at ddyddiau'r mis, o herwydd fôd yn haws cyfeirio llygaid at y Llithau a fo yn perthŷn i'r dŷdd o'r mis, pan fo y colofnau yn llawnion, nac ydŷw cyfeirio golwg ar draws colofn a fo yn wâg mewn am[illegible]. A chan fôd yr holl golofnau eraill yn llawnion, hawdd ŷw cyfeirio golwg oddiwrth ddydd y mis at y dŷdd gwŷl, neu'r dŷdd hynod a fo ar ei gyfer neu yn perthŷn iddo.

## MIS CHWEFROR SYDD IDDO 28. O DDYDDIAU.

### A 29 mewn blwŷddŷn naid.

| Yr Euraid Rifedi. | Dyddiau'r mis. | Llythrennau'r Sul. | BOREUOL Weddiau. Y Llith oedd cyntaf. | | Yr ail Llithoedd | | PRYDNAWNOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | | Yr ail Llithoedd | | Y Dyddiau Gwŷlion, a'r dyddiau hynod. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | 1 | D | Exodus | 10 | Marc | 1 | Exodus | 11 | 1 Corinthiaid | 13 | Ympryd. |
| 11 | 2 | E | Doethineb | 9 | Marc | 2 | Doethin. | 12 | 1 Corinthiaid | 14 | Pured. y fen. Fair |
| 19 | 3 | F | Exodus | 12 | Marc | 3 | Exodus | 13 | 1 Corinthiaid | 15 | Blai. El. a Merthyr. |
| 8 | 4 | G | Exodus | 14 | Marc | 4 | Exodus | 15 | 1 Corinthiaid | 16 | |
| | 5 | A | Exodus | 16 | Marc | 5 | Exodus | 17 | 2 Corinthiaid | 1 | Agath. |
| 16 | 6 | B | Exodus | 18 | Marc | 6 | Exodus | 19 | 2 Corinthiaid | 2 | |
| 5 | 7 | C | Exodus | 20 | Marc | 7 | Exodus | 21 | 2 Corinthiaid | 3 | |
| | 8 | D | Exodus | 22 | Marc | 8 | Exodus | 23 | 2 Corinthiaid | 4 | |
| 13 | 9 | E | Exodus | 24 | Marc | 9 | Exodus | 32 | 2 Corinthiaid | 5 | |
| 2 | 10 | F | Exodus | 33 | Marc | 10 | Exodus | 34 | 2 Corinthiaid | 6 | |
| | 11 | G | Leviticus | 18 | Marc | 11 | Leviticus | 19 | 2 Corinthiaid | 7 | |
| 10 | 12 | A | Leviticus | 20 | Marc | 12 | Leviticus | 26 | 2 Corinthiaid | 8 | |
| | 13 | B | Numeri | 11 | Marc | 13 | Numeri | 12 | 2 Corinthiaid | 9 | |
| 18 | 14 | C | Numeri | 13 | Marc | 14 | Numeri | 14 | 2 Corinthiaid | 10 | Valentin, Es. a Mer· |
| 7 | 15 | D | Numeri | 16 | Marc | 15 | Numeri | 17 | 2 Corinthiaid | 11 | |
| | 16 | E | Numeri | 20 | Marc | 16 | Numeri | 21 | 2 Corinthiaid | 12 | |
| 15 | 17 | F | Numeri | 22 | Lu. 1. h. | 39 | Numeri | 23 | 2 Corinthiaid | 13 | |
| 4 | 18 | G | Numeri | 24 | Lu. 1. g. | 39 | Numeri | 25 | Galatiaid | 1 | |
| | 19 | A | Numeri | 27 | Luc | 2 | Numeri | 30 | Galatiaid | 2 | |
| 12 | 20 | B | Numeri | 31 | Luc | 3 | Numeri | 32 | Galatiaid | 3 | |
| 1 | 21 | C | Numeri | 35 | Luc | 4 | Numeri | 36 | Galatiaid | 4 | |
| | 22 | D | Deuteron. | 1 | Luc. | 5 | Deuteron. | 2 | Galatiaid | 5 | |
| 9 | 23 | E | Deuteron. | 3 | Luc | 6 | Deuteron. | 4 | Galatiaid | 6 | Ympryd. |
| | 24 | F | Doethin. | 19 | Luc | 7 | Eclesiasticus | 1 | Ephesiaid | 1 | D. Matthias Ap |
| 17 | 25 | G | Deuteron. | 5 | Luc | 8 | Deuteron. | 6 | Ephesiaid | 2 | |
| 6 | 26 | A | Deuteron. | 7 | Luc | 9 | Deuteron. | 8 | Ephesiaid | 3 | |
| | 27 | B | Deuteron. | 9 | Luc | 10 | Deuteron. | 10 | Ephesiaid | 4 | |
| 14 | 28 | C | Deutero. | 11 | Luc | 11 | Deuteron. | 12 | Ephesiaid | 5 | |
| 3 | 29 | | Deutero. | 13 | *Matthe.* | 7 | Deuteron. | 14 | Rhufeiniaid | 12 | |

Dŷdd gwŷl Saint *Matthias* mewn Almanaccau Saesnaeg, a osodir gyferbŷn a'r 25 dŷdd o Fis Chwefror ar flwŷddŷn Naid; Ond ( onid ydwŷfi yn cam gymerŷd ) yr Arch-Esgobion a orchymŷnasant yn gyhoeddedig ( tua diwedd Llyfodraethiad Brenin *Charles* yr ail ) gadw dŷdd gwŷl Saint *Matthias* bôb amser ( o hynnŷ allan ) ar y 24 dŷdd o fis Chwefror, A hynnŷ yn ddi ammeu ar achos difai: Ac am hynnŷ myfi ( gan weled yn weddaidd ufuddhau i orchymŷn yr Esgobion, a llyfodraethiad y Deŷrnas ) a osodaf bôb amser yn fy Almanaccau ddŷdd gwŷl saint *Matthias* gyferbŷn ar 24 dŷdd o Chwefror ar flwŷddŷn naid cystal ag ar y blynyddoedd eraill; Ond gwnaed y Personiaid fel y gwelont hwŷ yn ddâ am yr unrhŷw beth.

# MIS MAWRTH SYDD IDDO 31. O DDYDDIAU.

| Yr Euraid Rifedi. | Dyddiau'r mis. | Llythyrennau'r Sul. | BOREUOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | | Yr ail Llithoedd. | | PRYDNAWNOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | | Yr ail Llithoedd. | | Y Dyddiau Gwyliau, a'r dyddiau hynod. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 3 | 1 | D | Deuteron. | 15 | Luc | 12 | Deuteron. | 16 | Ephesiaid | 6 | Dafydd Arc. Esc. Mene |
| | 2 | E | Deuteron. | 17 | Luc | 13 | Deuteron. | 18 | Philippiaid | 1 | Cad neu Chad. Es. Litc |
| 11 | 3 | F | Deuteron. | 19 | Luc | 14 | Deuteron. | 20 | Philippiaid | 2 | |
| | 4 | G | Deuteron. | 21 | Luc | 15 | Deuteron. | 22 | Philippiaid | 3 | |
| 19 | 5 | A | Deuteron. | 24 | Luc | 16 | Deuteron. | 25 | Philippiaid | 4 | |
| 8 | 6 | B | Deuteron. | 26 | Luc | 17 | Deuteron. | 27 | Colosiaid | 1 | |
| | 7 | C | Deuteron. | 28 | Luc | 18 | Deuteron. | 29 | Colosiaid | 2 | Perpetua. |
| 16 | 8 | D | Deuteron. | 30 | Luc | 19 | Deuteron. | 31 | Colosiaid | 3 | |
| 5 | 9 | E | Deuteron. | 32 | Luc | 20 | Deuteron. | 33 | Colosiaid | 4 | |
| | 10 | F | Deuteron. | 34 | Luc | 21 | Joshua | 1 | 1 Thessal. | 1 | |
| 13 | 11 | G | Joshua | 2 | Luc | 22 | Joshua | 3 | 1 Thessal. | 2 | |
| 2 | 12 | A | Joshua | 4 | Luc | 23 | Joshua | 5 | 1 Thessal. | 3 | Gregory M. Es. Rhuf. |
| | 13 | B | Joshua | 6 | Luc | 24 | Joshua | 7 | 1 Thessal. | 4 | |
| 10 | 14 | C | Joshua | 8 | Ioan | 1 | Joshua | 9 | 1 Thessal. | 5 | |
| | 15 | D | Joshua | 10 | Ioan | 2 | Joshua | 23 | 2 Thessal. | 1 | |
| 18 | 16 | E | Joshua | 24 | Ioan | 3 | Barnwŷr | 1 | 2 Thessal. | 2 | |
| 7 | 17 | F | Barnwŷr | 2 | Ioan | 4 | Barnwŷr | 3 | 2 Thessal. | 3 | |
| | 18 | G | Barnwŷr | 4 | Ioan | 5 | Barnwŷr | 5 | 1 Timoth. | 1 | Edw. Br. Saeson Goll |
| 15 | 19 | A | Barnwŷr | 6 | Ioan | 6 | Barnwŷr | 7 | 1 Tim. | 2, 3 | |
| 4 | 20 | B | Barnwŷr | 8 | Ioan | 7 | Barnwŷr | 9 | 1 Timoth. | 4 | |
| | 21 | C | Barnwŷr | 10 | Ioan | 8 | Barnwŷr | 11 | 1 Timoth. | 5 | Benedict Abad. |
| 12 | 22 | D | Barnwŷr | 12 | Ioan | 9 | Barnwŷr | 13 | 1 Timoth. | 6 | |
| 1 | 23 | E | Barnwŷr | 14 | Ioan | 10 | Barnwŷr | 15 | 2 Timoth. | 1 | |
| | 24 | F | Barnwŷr | 16 | Ioan | 11 | Barnwŷr | 17 | 2 Timoth. | 2 | Ymprŷd, |
| 9 | 25 | G | Eclesiasticus | 2 | Ioan | 12 | Eclesiasticus | 3 | 2 Timoth. | 3 | Cennadwri Mair. |
| | 26 | A | Barnwŷr | 18 | Ioan | 13 | Barnwŷr | 19 | 2 Timoth. | 4 | |
| 17 | 27 | B | Barnwŷr | 20 | Ioan | 14 | Barnwŷr | 21 | Titus | 1 | |
| 6 | 28 | C | Ruth | 1 | Ioan | 15 | Ruth | 2 | Titus | 2, 3 | |
| | 29 | D | Ruth | 3 | Ioan | 16 | Ruth | 4 | Philemon | | |
| 14 | 30 | E | 1 Samuel | 1 | Ioan | 17 | 1 Samuel | 2 | Hebreaid | 1 | |
| 3 | 31 | F | 1 Samuel | 3 | Ioan | 18 | 1 Samuel | 4 | Hebreaid | 2 | |

Blwŷddŷn naid a ddigwŷdd unwaith mewn pôb pedair blynedd, am yr achos sŷ'n canlŷn: Cyfrifir fôd yr Haul yn symmud unwaith trwŷ'r deuddeg Arwŷddion mewn 365. o ddyddiau, ac ynghŷlch chwech o oriau ychwaneg. A mynediad yr Haul trwŷ'r deuddeg Arwŷddion a gyfrifir yn flwŷddŷn uniawn. Ac wrth hynnŷ y chwe awr sŷdd dros ben y 365. o ddyddiau, mewn pedair blynedd a wnant 24. o oriau, neu ddiwrnod a notwaith, a'r diwrnod hwnnw a osodir wrth Fis Chwefror unwaith bôb pedair blynedd, ac a wna 29. o ddyddiau yn y mis hwnnw, a 366. o ddyddiau yn y flwŷddŷn hono, a hono a elwir blwŷddŷn naid.

## MIS EBRILL SYDD IDDO 30, O DDYDDIAU.

| Yr Euraid Rifedi. | Dyddiau'r mis. | Llythyrennau'r Sul | BOREUOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | BOREUOL Weddiau. Yr ail Llithoedd. | PRYDNAWNOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf | PRYDNAWNOL Weddiau. Yr ail Llithoedd. | Y Dyddiau Gwylion, a'r dyddiau hynod. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | 1 | G | 1 Samuel 5 | Joan 19 | 1 Samuel 6 | Hebreaid 3 | |
| 11 | 2 | A | 1 Samuel 7 | Joan 20 | 1 Samuel 8 | Hebreaid 4 | |
| 19 | 3 | B | 1 Samuel 9 | Joan 21 | 1 Samuel 10 | Hebreaid 5 | Richard Esgob. |
| 8 | 4 | C | 1 Samuel 11 | Actau 1 | 1 Samuel 12 | Hebreaid 6 | Ambros Esgob. |
| | 5 | D | 1 Samuel 13 | Actau 2 | 1 Samuel 14 | Hebreaid 7 | |
| 16 | 6 | E | 1 Samuel 15 | Actau 3 | 1 Samuel 16 | Hebreaid 8 | |
| 5 | 7 | F | 1 Samuel 17 | Actau 4 | 1 Samuel 18 | Hebreaid 9 | |
| | 8 | G | 1 Samuel 19 | Actau 5 | 1 Samuel 20 | Hebreaid 10 | |
| 13 | 9 | A | 1 Samuel 21 | Actau 6 | 1 Samuel 22 | Hebreaid 11 | |
| 2 | 10 | B | 1 Samuel 23 | Actau 7 | 1 Samuel 24 | Hebreaid 12 | |
| | 11 | C | 1 Samuel 25 | Actau 8 | 1 Samuel 26 | Hebreaid 13 | |
| 10 | 12 | D | 1 Samuel 27 | Actau 9 | 1 Samuel 28 | Jaco 1 | |
| | 13 | E | 1 Samuel 29 | Actau 10 | 1 Samuel 30 | Jaco 2 | |
| 18 | 14 | F | 1 Samuel 31 | Actau 11 | 2 Samuel 1 | Jaco 3 | |
| 7 | 15 | G | 2 Samuel 2 | Actau 12 | 2 Samuel 3 | Jaco 4 | |
| | 16 | A | 2 Samuel 4 | Actau 13 | 2 Samuel 5 | Jaco 5 | |
| 15 | 17 | B | 2 Samuel 6 | Actau 14 | 2 Samuel 7 | 1 Peter 1 | |
| 4 | 18 | C | 2 Samuel 8 | Actau 15 | 2 Samuel 9 | 1 Peter 2 | |
| | 19 | D | 2 Samuel 10 | Actau 16 | 2 Samuel 11 | 1 Peter 3 | Alpheg Arch-Esgob. |
| 12 | 20 | E | 2 Samuel 12 | Actau 13 | 2 Samuel 13 | 1 Peter 4 | |
| 1 | 21 | F | 2 Samuel 14 | Actau 18 | 2 Samuel 15 | 1 Peter 5 | |
| | 22 | G | 2 Samuel 16 | Actau 19 | 2 Samuel 17 | 2 Peter 1 | |
| 9 | 23 | A | 2 Samuel 18 | Actau 20 | 2 Samuel 19 | 2 Peter 2 | Saint George, Ferthyr. |
| | 24 | B | 2 Samuel 20 | Actau 21 | 2 Samuel 21 | 2 Peter 3 | |
| 17 | 25 | C | Eclesiasticus 4 | Actau 22 | Eclesiasticus 5 | 1 Joan 1 | **Saint Mare** Efangylwr. |
| 6 | 26 | D | 2 Samuel 22 | Actau 23 | 2 Samuel 23 | 1 Joan 2 | |
| | 27 | E | 2 Samuel 24 | Actau 24 | 1 Brenhi. 1 | 1 Joan 3 | |
| 14 | 28 | F | 1 Brenhi. 2 | Actau 25 | 1 Brenhi. 3 | 1 Joan 4 | |
| 3 | 29 | G | 1 Brenhi. 4 | Actau 26 | 1 Brenhi. 5 | 1 Joan 5 | |
| | 30 | A | 1 Brenhi. 6 | Actau 27 | 1 Brenhi. 7 | 2, 3 Joan | |

Oni bae gasglu diwrnod a noswaith, unwaith bôb pedair blynedd ( wrth y chwech awr a soniais amdanŷnt dan odreu calan mis *Mawrth* ) iw gosod wrth Fis *Chwefror*, i wneuthur blwŷddŷn Naid unwaith bôb pedair blynedd ; Digwŷddaseu dŷdd natalic Crist mewn chwe chant, a phedwar ugain o flynyddoedd, ar ol geni Crist, ar y dŷdd hwŷaf yn y flwddŷn ; Ac wrth hynnŷ yr hôll ddyddiau gwŷlion eraill a ddigwŷdd lasent allan o'u tymmor : A thrachefen, unwaith ym-hôb 1460. o flynyddoedd, besid yn camgyfri un flwŷddŷn o oedran Crist, Ac o oedran y Bŷd hefŷd, o eisieu gwneuthur blwŷddŷn naid.

# MIS MAI SYDD IDDO 31. O DDYDDIAU.

| Yr Euraid Rifedi. | Dyddiau'r mîs. | Llythyrennau'r Sul | BOREUOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | BOREUOL Weddiau. Yr ail Llithoedd. | PRYDNAWNOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | PRYDNAWNOL Weddiau. Yr ail Llithoedd. | Y Dyddiau Gwylion, a'r dyddiau hynod. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 11 | 1 | B | Ecleſiaſticus 7 | Joan 1.w. 43 | Ecleſiaſticus 9 | Jude | S. Philip, a Jaco |
| | 2 | C | 1 Brenhi. 8 | Actau 28 | 1 Brenhi. 9 | Rhufeiniaid 1 | |
| 19 | 3 | D | 1 Brenhi. 10 | Matthew 1 | 1 Brenhi. 11 | Rhufeiniaid 2 | Caffael y Groes. |
| 8 | 4 | E | 1 Brenhi. 12 | Matthew 2 | 1 Brenhi. 13 | Rhufeiniaid 3 | |
| | 5 | F | 1 Brenhi. 14 | Matthew 3 | 1 Brenhi. 15 | Rhufeiniaid 4 | |
| 16 | 6 | G | 1 Brenhi. 16 | Matthew 4 | 1 Brenhi. 17 | Rhufeiniaid 5 | St. Joan. |
| 5 | 7 | A | 1 Brenhi. 18 | Matthew 5 | 1 Brenhi. 19 | Rhufeiniaid 6 | |
| | 8 | B | 1 Brenhi. 20 | Matthew 6 | 1 Brenhi. 21 | Rhufeiniaid 7 | |
| 13 | 9 | C | 1 Brenhi. 22 | Matthew 7 | 2 Brenhi. 1 | Rhufeiniaid 8 | |
| 2 | 10 | D | 2 Brenhi. 2 | Matthew 8 | 2 Brenhi. 3 | Rhufeiniaid 9 | |
| | 11 | E | 2 Brenhi. 4 | Matthew 9 | 2 Brenhi. 5 | Rhufeiniaid 10 | |
| 10 | 12 | F | 2 Brenhi. 6 | Matthew 10 | 2 Brenhi. 7 | Rhufeiniaid 11 | |
| | 13 | G | 2 Brenhi. 8 | Matthew 11 | 2 Brenhi. 9 | Rhufeiniaid 12 | |
| 18 | 14 | A | 2 Brenhi. 10 | Matthew 12 | 2 Brenhi. 11 | Rhufeiniaid 13 | |
| 7 | 15 | B | 2 Brenhi. 12 | Matthew 13 | 2 Brenhi. 13 | Rhufeiniaid 14 | |
| | 16 | C | 2 Brenhi. 14 | Matthew 14 | 2 Brenhi. 15 | Rhufeiniaid 15 | |
| 15 | 17 | D | 2 Brenhi. 16 | Matthew 15 | 2 Brenhi. 17 | Rhufeiniaid 16 | |
| 4 | 18 | E | 2 Brenhi. 18 | Matthew 16 | 2 Brenhi. 19 | 1 Corinth. 1 | |
| | 19 | F | 2 Brenhi. 20 | Matthew 17 | 2 Brenhi. 21 | 1 Corinth. 2 | Dunſtan. |
| 12 | 20 | G | 2 Brenhi. 22 | Matthew 18 | 2 Brenhi. 23 | 1 Corinth. 3 | |
| 1 | 21 | A | 2 Brenhi. 24 | Matthew 19 | 2 Brenhi. 25 | 1 Corinth. 4 | |
| | 22 | B | Ezra 1 | Matthew 20 | Ezra 3 | 1 Corinth. 5 | |
| 9 | 23 | C | Ezra 4 | Matthew 21 | Ezra 5 | 1 Corinth. 6 | |
| | 24 | D | Ezra 6 | Matthew 22 | Ezra 7 | 1 Corinth. 7 | |
| 17 | 25 | E | Ezra 9 | Matthew 23 | Nehemia 1 | 1 Corinth. 8 | |
| 6 | 26 | F | Nehemia 2 | Matthew 24 | Nehemia 4 | 1 Corinth. 9 | Auguſtin. |
| | 27 | G | Nehemia 5 | Matthew 25 | Nehemia 6 | 1 Corinth. 10 | Bede. |
| 14 | 28 | A | Nehemia 8 | Matthew 26 | Nehemia 9 | 1 Corinth. 11 | |
| 3 | 29 | B | Nehemia 10 | Matthew 27 | Nehemia 13 | 1 Corinth. 12 | Charles 2 Nat. |
| | 30 | C | Eſther 1 | Matthew 28 | Eſther 2 | 1 Corinth. 13 | |
| 11 | 31 | D | Eſther 3 | *Marc.* 1 | Eſther 4 | 1 Corinth. 14 | |

Tybiais mae diniwaid, a chyfleus oedd i mi roddi henwau Llyfrau'r Bibl yn gyflawn, o flaen y ffigurau, sŷ'n dangos y Llithiau a orchymynwŷd eu darllain ar amryw ddyddiau trwŷ'r flwŷddŷn; Nid er Athrawiaethu yſgolheigion, ond i ddwŷn ar ddeall yn egluraf ag a medrwn i'r Annyſgedig, y môdd i ddeall y Calender, Ac i gael y ffordd hawſaf y llithiau a drefnwŷd iw darllain ar bôb dŷdd yn y flwŷddŷn, wrth drefniad Eglwŷs Loegr a Chymru.

## MIS MEHEFIN SYDD IDDO 30. O DDYDDIAU.

| Yr Euraid Rifedi. | Dyddiau'r mis | Llythyrennau'r sul. | BOREHOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | Yr ail Llithoedd. | PRYDNAWNOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | Yr ail Llithoedd. | Y Dyddiau Orfollion, a'r dyddiau hynod. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | 1 | E | Esther 5 | Marc 2 | Esther 6 | 1 Corinthiaid 15 | Nicom. Off. a M. o Ruf. |
| 19 | 2 | F | Esther 7 | Marc 3 | Esther 8 | 1 Corinthiaid 16 | |
| 8 | 3 | G | Esther 9 | Marc 4 | Job 1 | 2 Corinthiaid 1 | |
| 16 | 4 | A | Job 2 | Marc 5 | Job 3 | 2 Corinthiaid 2 | |
| 5 | 5 | B | Job 4 | Marc 6 | Job 5 | 2 Corinthiaid 3 | Boniff. Esc. a M. o Mentz. |
| | 6 | C | Job 6 | Marc 7 | Job 7 | 2 Corinthiaid 4 | |
| 13 | 7 | D | Job 8 | Marc 8 | Job 9 | 2 Corinthiaid 5 | |
| 2 | 8 | E | Job 10 | Marc 9 | Job 11 | 2 Corinthiaid 6 | |
| | 9 | F | Job 12 | Marc 10 | Job 13 | 2 Dorinthiaid 7 | |
| 10 | 10 | G | Job 14 | Marc 11 | Job 15 | 2 Corinthiaid 8 | |
| | 11 | A | Eclus. 10 | Actau 14 | Eclus. 12 | Act. 15. hyd w 36 | St. Barnabas Apostl |
| 18 | 12 | B | Job 16 | Marc 12 | Jo. 17, 18 | 2 Corinthiaid 9 | |
| 7 | 13 | C | Job 19 | Marc 13 | Job 20 | 2 Corinthiaid 10 | |
| | 14 | D | Job 21 | Marc 14 | Job 22 | 2 Corinthiaid 11 | |
| 15 | 15 | E | Job 23 | Marc 15 | J. 24, 25 | 2 Corinthiaid 12 | |
| 4 | 16 | F | Jo. 26, 27 | Marc 16 | Job 28 | 2 Corinthiaid 13 | |
| | 17 | G | Job 29 | Luc 1 | Job 30 | Galatiaid 1 | Saint Alban, Merthyr. |
| 12 | 18 | A | Job 31 | Luc 2 | Job 32 | Galatiaid 2 | |
| 1 | 19 | B | Job 33 | Luc 3 | Job 34 | Galatiaid 3 | |
| | 20 | C | Job 35 | Luc 4 | Job 36 | Galatiaid 4 | Ymsym. Ed. Br. Saes. Go. |
| 9 | 21 | D | Job 37 | Luc 5 | Job 38 | Galatiaid 5 | |
| | 22 | E | Job 39 | Luc 6 | Job 40 | Galatiaid 6 | |
| 17 | 23 | F | Job 41 | Luc 7 | Job 42 | Ephesiaid 1 | Ympryd. |
| 6 | 24 | G | Malac. 3 | Matth. 3 | Malac. 4 | Mat. 14 hyd w. 13 | St. Joan Fedyddiwr. |
| | 25 | A | Dihar. 1 | Luc 8 | Dihar. 2 | Ephesiaid 2 | |
| 14 | 26 | B | Dihar. 3 | Luc 9 | Dihar. 4 | Ephesiaid 3 | |
| 3 | 27 | C | Dihar. 5 | Luc 10 | Dihar. 6 | Ephesiaid 4 | |
| | 28 | D | Dihar. 7 | Luc 11 | Dihar. 8 | Ephesiaid 5 | Ympryd. |
| 11 | 29 | E | Eclus. 15 | Actau 3 | Eclus. 19 | Actau 4 | St. Petter Apostl. |
| | 30 | F | Dihar. 9 | Luc 12 | Dihar. 10 | Ephesiaid 6 | |

Er nad oedd hŷd yn hŷn, ynghalan y misoedd ond adwŷau noethion ( gyferbŷn ar dyddiau Gwŷlion ) yn y colofnau sŷ'n dangos y llithiau pwŷntiedig iw darllain bôb dŷdd, Tybiais mae diniwaid oedd lenwi'r adwŷau hynnŷ ar llithiau a berthyno i'r dyddiau gwŷlion; Ac etto gadewais y llithiau hynnŷ o'r neilltu iw cael mewn man arall, fel ag i'r oeddŷnt or blaen.

# MIS GORPHENNAF SYDD IDDO 31. O DDYDDIAU.

| Yr Euraid Rifedi. | Dyddiau'r mis. | Llythyrennau'r Sul. | BOREUOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | | Yr ail Llithoedd. | | PRYDNAWNOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | | Yr ail Llithoedd. | | Y *Dyddiau Gwylion, a'r dyddiau hynod.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 19 | 1 | G | Diharebion | 11 | Luc | 13 | Diharebion | 12 | Philippiaid | 1 | |
| 8 | 2 | A | Diharebion | 13 | Luc | 14 | Diharebion | 14 | Philippiaid | 2 | Ymwel y fen: Fair. |
| | 3 | B | Diharebiou | 15 | Luc | 15 | Diharebion | 16 | Philippiaid | 3 | |
| 16 | 4 | C | Diharebion | 17 | Luc | 16 | Diharebion | 18 | Philippiaid | 4 | Martin. |
| 5 | 5 | D | Diharebion | 19 | Luc | 17 | Diharebion | 20 | Colosiaid | 1 | |
| | 6 | E | Diharebion | 21 | Luc | 18 | Diharebion | 22 | Colosiaid | 2 | |
| 13 | 7 | F | Diharebion | 23 | Luc | 19 | Diharebion | 24 | Colosiaid | 3 | |
| 2 | 8 | G | Diharebion | 25 | Luc | 20 | Diharebion | 26 | Colosiaid | 4 | |
| | 9 | A | Diharebion | 27 | Luc | 21 | Diharebion | 28 | 1 Thessalon. | 1 | |
| 10 | 10 | B | Diharebion | 29 | Luc | 22 | Diharebion | 31 | 1 Thessalon. | 2 | |
| | 11 | C | Pregeth-wr | 1 | Luc | 23 | Pregeth-wr | 2 | 1 Thessalon. | 3 | |
| 18 | 12 | D | Pregeth-wr | 3 | Luc | 24 | Pregeth-wr | 4 | 1 Thessalon. | 4 | |
| 7 | 13 | E | Pregeth-wr | 5 | Ioan | 1 | Pregeth-wr | 6 | 1 Thessalon. | 5 | |
| | 14 | F | Pregeth-wr | 7 | Ioan | 2 | Pregeth-wr | 8 | 2 Thessalon. | 1 | |
| 15 | 15 | G | Pregeth-wr | 9 | Ioan | 3 | Pregeth-wr | 10 | 2 Thessalon. | 2 | Swithin. |
| 4 | 16 | A | Pregeth-wr | 11 | Ioan | 4 | Pregeth-wr | 12 | 2 Thessalon. | 3 | |
| | 17 | B | Jeremi | 1 | Ioan | 5 | Jeremi | 2 | 1 Timothe. | 1 | |
| 12 | 18 | C | Jeremi | 3 | Ioan | 6 | Jeremi | 4 | 1 Tim. | 2, 3 | |
| 1 | 19 | D | Jeremi | 5 | Ioan | 7 | Jeremi | 6 | 1 Timoth. | 4 | |
| | 20 | E | Jeremi | 7 | Ioan | 8 | Jeremi | 8 | 1 Timoth. | 5 | Margret. |
| 9 | 21 | F | Jeremi | 9 | Ioan | 9 | Jeremi | 10 | 1 Timoth. | 6 | Magdalen. |
| | 22 | G | Jeremi | 11 | Ioan | 10 | Jeremi | 12 | 2 Timoth. | 1 | |
| 17 | 23 | A | Jeremi | 13 | Ioan | 11 | Jeremi | 14 | 2 Timoth. | 2 | |
| 6 | 24 | B | Jeremi | 15 | Ioan | 12 | Jeremi | 16 | 2 Timoth. | 3 | Ympryd. |
| | 25 | C | Eclesiasticus | 21 | Ioan | 13 | Eclesiasticus | 22 | 2 Timoth. | 4 | **St. Jaco Apostl.** |
| 14 | 26 | D | Jeremi | 17 | Ioan | 14 | Jeremi | 18 | Titus | 1 | S. Ann. |
| 3 | 27 | E | Jeremi | 19 | Ioan | 15 | Jeremi | 20 | Titus | 2, 3 | |
| | 28 | F | Jeremi | 21 | Ioan | 16 | Jeremi | 22 | Philemon | | |
| 11 | 29 | G | Jeremi | 23 | Ioan | 17 | Jeremi | 24 | Hebreaid | 1 | |
| | 30 | A | Jeremi | 25 | Ioan | 18 | Jeremi | 26 | Hebreaid | 2 | |
| 19 | 31 | B | Jeremi | 27 | Ioan | 19 | Jeremi | 28 | Hebreaid | 3 | |

Y golofn gyntaf o galan y misoedd, a elwir, yr Euraid Rifedi, neu'r Prif. Yr Euraid Rifedi hwn sy'n cynwys ynddo 19. o Rifedi, ac a ddyfeisiwyd yn bennaf er mwyn dangos wrtho yr amser a digwyddo'r Pasc bob blwyddyn. Ond y deunydd a wneir o hono fel ag i mae ymma wrth galan y misoedd, yw, i fwrw amcan wtho am newid y lleuad, fel a dangosir i chwi wrth waelod calan mis *Awst*, a mis *Medi*.

## MIS AWST SYDD IDDO 31. O DDYDDIAU.

| Yr Euraid Rifedi. | Dyddiau'r mis. | Llythyrennau'r Sul. | BOREUOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | BOREUOL Weddiau. Yr ail Llithoedd. | PRYDNAWNOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | PRYDNAWNOL Weddiau. Yr ail Llithoedd. | *Y Dyddiau Gwŷlion, a'r dyddiau hynod.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 8 | 1 | C | Jeremi 29 | Joan 20 | Jeremi 30 | Hebreaid 4 | |
| 16 | 2 | D | Jeremi 31 | Joan 21 | Jeremi 32 | Hebreaid 5 | |
| 5 | 3 | E | Jeremi 33 | Actau 1 | Jeremi 34 | Hebreaid 6 | |
| | 4 | F | Jeremi 35 | Actau 2 | Jeremi 36 | Hebreaid 7 | |
| 13 | 5 | G | Jeremi 37 | Actau 3 | Jeremi 38 | Hebreaid 8 | |
| 2 | 6 | A | Jeremi 39 | Actau 4 | Jeremi 40 | Hebreaid 9 | Ymrithiad ein Harglwŷdd. |
| | 7 | B | Jeremi 41 | Actau 5 | Jeremi 42 | Hebreaid 10 | Enw'r Jeſu. |
| 10 | 8 | C | Jeremi 43 | Actau 6 | Jeremi 44 | Hebreaid 11 | |
| | 9 | D | Jer. 45, 46 | Actau 7 | Jeremi 47 | Hebreaid 12 | |
| 18 | 10 | E | Jeremi 48 | Actau 8 | Jeremi 49 | Hebreaid 13 | Saint Laurence merthŷr. |
| 7 | 11 | F | Jeremi 50 | Actau 9 | Jeremi 51 | Jaco 1 | |
| | 12 | G | Jeremi 52 | Actau 10 | Galarn. 1 | Jaco 2 | William |
| 15 | 13 | A | Galarn. 2 | Actau 11 | Galarn. 3 | Jaco 3 | |
| 4 | 14 | B | Galarn. 4 | Actau 12 | Galarn. 5 | Jaco 4 | W |
| | 15 | C | Ezeciel 2 | Actau 13 | Ezeciel 3 | Jaco 5 | |
| 12 | 16 | D | Ezeciel 6 | Actau 14 | Ezeciel 7 | 1 Peter 1 | |
| 1 | 17 | E | Ezeciel 13 | Actau 15 | Ezeciel 14 | 1 Peter 2 | |
| | 18 | F | Ezeciel 18 | Actau 16 | Ezeciel 33 | 1 Peter 3 | |
| 9 | 19 | G | Ezeciel 34 | Actau 17 | Daniel 1 | 1 Peter 4 | |
| | 20 | A | Daniel 2 | Actau 18 | Daniel 3 | 1 Peter 5 | |
| 17 | 21 | B | Daniel 4 | Actau 19 | Daniel 5 | 2 Peter 1 | |
| 6 | 22 | C | Daniel 6 | Actau 20 | Daniel 7 | 2 Peter 2 | |
| | 23 | D | Daniel 8 | Actau 21 | Daniel 9 | 2 Peter 3 | Ymprŷd. |
| 14 | 24 | E | Ecclus. 24 | Actau 22 | Ecclus. 29 | 1 Joan 1 | **St. Bartholemew Apoſtl.** |
| 3 | 25 | F | Daniel 10 | Actau 23 | Daniel 11 | 1 Joan 2 | |
| | 26 | G | Daniel 12 | Actau 24 | Hoſea 1 | 1 Joan 3 | |
| 11 | 27 | A | Hoſea 2, 3 | Actau 25 | Hoſea 4 | 1 Joan 4 | |
| | 28 | B | Hoſea 5, 6 | Actau 26 | Hoſea 7 | 1 Joan 5 | Auguſt. Eſcob Hip. C. D. |
| 19 | 29 | C | Hoſea 8 | Actau 27 | Hoſea 9 | 2, 3 Joan | Dibenu Saint Joan Fedyddiwr. |
| 8 | 30 | D | Hoſea 10 | Actau 28 | Hoſea 11 | Jude | |
| | 31 | E | Hoſea 12 | Matthe. 1 | Hoſea 13 | Rhufeini. 1 | |

Pan gaffoch y dŷdd o newid y lleuad mewn rhŷw fîs, edrychwch pa ffigur ſŷdd gyferbŷn ar dŷdd hwnnw yn y golofn gyntaf o galan y mîs, A phan gaffoch hynnŷ, cewch newid y lleuad ondodid gyferbŷn a'r un ffigur yn y miſoedd eraill yn y flwŷddŷn honno: Megis pedfae'r lleuad yn newid y 7 dŷdd o *Chwefror*, gyferbŷn ar dŷdd hwnnw yn y golofn gyntaf cewch 5. ac yno chwiliwch am 5 yn y golofn gyntaf am fis *Mawrth*, a chewch 5 yno gyferbŷn ar 9 dŷdd. I ddangos i chwi fôd y lleuad yn newid drachefen y 9 dŷdd o *Fawrth* yn yr un flwŷddŷn.

## MIS MEDI SYDD IDDO 30. O DDYDDIAU.

| Yr Euraid Rifedi. | Dyddiau'r mis. | Llythyrennau'r Sul. | BOREUOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | BOREUOL Weddiau. Yr ail Llithoedd. | PRYDNAWNOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | PRYDNAWNOL Weddiau. Yr ail Llithoedd. | Y Dyddiau Gwylion a'r dyddiau hynod. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 16 | 1 | F | Hosea 14 | matthew 2 | Joel 1 | Rhufeiniaid 2 | Silin. |
| 5 | 2 | G | Joel 2 | matthew 3 | Joel 3 | Rhufeiniaid 3 | |
| | 3 | A | Amos 1 | matthew 4 | Amos 2 | Rhufeiniaid 4 | |
| 13 | 4 | B | Amos 3 | matthew 5 | Amos 4 | Rhufeiniaid 5 | |
| 2 | 5 | C | Amos 5 | matthew 6 | Amos 6 | Rhufeiniaid 6 | |
| | 6 | D | Amos 7 | matthew 7 | Amos 8 | Rhufeiniaid 7 | |
| 10 | 7 | E | Amos 9 | matthew 8 | Obadiah | Rhufeiniaid 8 | Enurchus e. Orle. |
| | 8 | F | Jonah 1 | matthew 9 | Jonah 2, 3 | Rhufeiniaid 9 | Natal. y Fend. Fair. |
| 18 | 9 | G | Jonah 4 | matthew 10 | micah 1 | Rhufeiniaid 10 | |
| 7 | 10 | A | Micah 2 | matthew 11 | micah 3 | Rhufeiniaid 11 | |
| | 11 | B | Micah 4 | matthew 12 | micah 5 | Rhufeiniaid 12 | |
| 15 | 12 | C | Micah 6 | matthew 13 | micah 7 | Rhufeiniaid 13 | |
| 4 | 13 | D | Nahum 1 | matthew 14 | Nahum 2 | Rhufeiniaid 14 | |
| | 14 | E | Nahum 3 | matthew 15 | Habaccuc 1 | Rhufeiniaid 15 | Groes Sanctaidd. |
| 12 | 15 | F | Habaccuc 2 | matthew 16 | Habaccuc 3 | Rhufeiniaid 16 | |
| 1 | 16 | G | Zephaniah 1 | matthew 17 | Zephaniah 2 | 1 Corinthiaid 1 | |
| | 17 | A | Zephaniah 3 | matthew 18 | Haggai 1 | 1 Corinthiaid 2 | Lambert. |
| 9 | 18 | B | Haggai 2 | matthew 19 | Zecharia 1 | 1 Corinthiaid 3 | |
| | 19 | C | Zecharia 2, 3 | matthew 20 | Zecharia 4, 5 | 1 Corinthiaid 4 | |
| 17 | 20 | D | Zecharia 6 | matthew 21 | Zecharia 7 | 1 Corinthiaid 5 | Ymprŷd. |
| 6 | 21 | E | eclesiastus 35 | matthew 22 | eclesiastus 38 | 1 Corinthiaid 6 | S. Matthew Ap. |
| | 22 | F | Zecharia 8 | matthew 23 | Zecharia 9 | 1 Corinthiaid 7 | |
| 14 | 23 | G | Zecharia 10 | matthew 24 | Zecharia 11 | 1 Corinthiaid 8 | |
| 3 | 24 | A | Zecharia 12 | matthew 25 | Zecharia 13 | 1 Corinthiaid 9 | |
| | 25 | B | Zecharia 14 | matthew 26 | malachi 1 | 1 Corinthiaid 10 | |
| 11 | 26 | C | Malachi 2 | matthew 27 | malachi 3 | 1 Corinthiaid 11 | S. Cypri. |
| | 27 | D | Malachi 4 | matthew 28 | Tobit 1 | 1 Corinthiaid 12 | |
| 19 | 28 | E | Tobit 2 | Marc 1 | Tobit 3 | 1 Corinthiaid 13 | |
| 8 | 29 | F | Genesis 32 | Marc 2 | Dan. 10. gw. 5 | 1 Corinthiaid 14 | S. Michael. |
| | 30 | G | Tobit 4 | Marc 3 | Tobit 6 | 1 Corinthiaid 15 | S. Jerom Offeir. |

Os digwŷdd i'r lleuad newid ar ddŷdd a fo gyferbŷn ag adwŷ noeth yn y golofn gyntaf, edrychwch pa ffigurau a fo oflaen ac ar ol yr adwŷ hono, a chyferbŷn ar adwŷ a fo rhwng yr un ffigurau yn y misoedd eraill, byddwch debŷg i gael newid y lleuad y flwŷddŷn hono. Ond ni ddigwŷdd y Rheol ymma yn gywir bôb amser, oblegŷd iod symudiad y lleuad, [illegible] Haul hefŷd yn anghyfattebol y naill amser i'r llall.

## MIS HYDREF SYDD IDDO 31. O DDYDDIAU.

| Yr Euraid Rifedi. | Dyddiau'r mis. | Llythyrennau'r Sul. | BOREUOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | BOREUOL Weddiau. Yr ail Llithoedd. | PRYDNAWNOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | PRYDNAWNOL Weddiau. Yr ail Llithoedd. | Y Dyddiau Gwŷlion, a'r dyddiau hynod. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 16 | 1 | A | Tobit 7 | Marc 4 | Tobit 8 | 1 Corin. 16 | Remigius. |
| 5 | 2 | B | Tobit 9 | Marc 5 | Tobit 10 | 2 Corin. 1 | |
| 13 | 3 | C | Tobit 11 | Marc 6 | Tobit 12 | 2 Corin. 2 | |
| 2 | 4 | D | Tobit 13 | Marc 7 | Tobit 14 | 2 Corin. 3 | |
| | 5 | E | Iudeth 1 | Marc 8 | Iudeth 2 | 2 Corin. 4 | |
| 10 | 6 | F | Iudeth 3 | Marc 9 | Iudeth 4 | 2 Corin. 5 | Ffŷdd, Mor. a Mer |
| | 7 | G | Iudeth 5 | Marc 10 | Iudeth 6 | 2 Corin. 6 | |
| 18 | 8 | A | Iudeth 7 | Marc 11 | Iudeth 8 | 2 Corin. 7 | |
| 7 | 9 | B | Iudeth 9 | Marc 12 | Iudeth 10 | 2 Corin. 8 | Denŷs Ar. Eſ a M. |
| | 10 | C | Iudeth 11 | Marc 13 | Judeth 12 | 2 Corin. 9 | |
| 15 | 11 | D | Iudeth 13 | Marc 14 | Judeth 14 | 2 Corin. 10 | |
| 4 | 12 | E | Iudeth 15 | Marc 15 | Judeth 16 | 2 Corin. 11 | |
| | 13 | F | Doethineb 1 | Marc 16 | Doethineb 2 | 2 Corin. 12 | Ymſym. Br. Edw. |
| 12 | 14 | G | Doethineb 3 | Lu. 1.h.38 | Doethineb 4 | 2 Corin. 13 | |
| 1 | 15 | A | Doethineb 5 | L. 1.gw.39 | Doethineb 6 | Galatiaid 1 | |
| | 16 | B | Doethineb 7 | Luc 2 | Doethineb 8 | Galatiaid 2 | |
| 9 | 17 | C | Doethineb 9 | Luc 3 | Doethineb 10 | Galatiaid 3 | Etheldred Morwŷn |
| | 18 | D | Eclesaſtcus 51 | Luc 4 | Job 1 | Galatiaid 4 | S. Luc Efangylwr |
| 17 | 19 | E | Doethineb 11 | Luc 5 | Doethineb 12 | Galatiaid 5 | |
| 6 | 20 | F | Doethineb 13 | Luc 6 | Doethineb 14 | Galatiaid 6 | |
| | 21 | G | Doethineb 15 | Luc 7 | Doethineb 16 | Epheſiaid 1 | |
| 14 | 22 | A | Doethineb 17 | Luc 8 | Doethineb 18 | Epheſiaid 2 | |
| 3 | 23 | B | Doethineb 19 | Luc 9 | Ecleſiaſticus 1 | Epheſiaid 3 | |
| | 24 | C | Eclesiaſticus 2 | Luc 10 | ecleſiaſticus 3 | Epheſiaid 4 | |
| 11 | 25 | D | eclesiaſticus 4 | Luc 11 | ecleſiaſticus 5 | Epheſiaid 5 | Criſpin. |
| | 26 | E | eclesiaſticus 6 | Luc 12 | ecleſiaſticus 7 | Epheſiaid 6 | |
| 19 | 27 | F | eclesiaſticus 8 | Luc 13 | ecleſiaſticus 9 | Philippiaid 1 | Ymprŷd. |
| 8 | 28 | G | Job 24 a'r 25 | Luc 14 | Job 42 | Philippiaid 2 | S. Simon a S. Jud. |
| | 29 | A | eclesiaſtic. 10 | Luc 15 | ecleſiaſtcus 11 | Philippiaid 3 | |
| 16 | 30 | B | eclesiaſtic. 12 | Luc 16 | ecleſiaſticus 13 | Philippiaid 4 | |
| 5 | 31 | C | eclesiaſtic. 14 | Luc 17 | ecleſiaſtcus 51 | Coloſiaid 1 | Ymprŷd. |

Gwŷbyddwch fôd dwŷ lythyren Sul, yn perthŷn i bôb blwŷddŷn naid. Sef, y gynta o honŷnt o ddechreu mîs *Ionawr*, hŷd y 25 dŷdd o Fîs *Chwefror*; Ar ail o hynnŷ i ddiwedd mîs *Rhagfŷr*. Ar un llythyren mewn blwŷddŷn naid, a fŷdd tuntu gyferbŷn ar 24. ar 25. o ddyddiau mîs *Chwefror*; Ar achos paham a gosodir hwŷnt fellŷ, ŷw, er mwŷn cadw yr un llythyren gyferbŷn ar un dŷdd or mîs bôb amser o flwŷddŷn bwŷgilŷdd dros bŷth.

# MIS TACHWEDD SYDD IDDO 30. O DDYDDIAU.

| Yr Euraid Rifedi. | Dyddiau'r Mis. | Llythyrennau'r Sul. | BOREUOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | BOREUOL Weddiau. Yr ail Llithoedd. | PRYDNAWNOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | PRYDNAWNOL Weddiau. Yr ail Llithoedd | Y *Dyddiau Gwŷlion, a'r dyddiau hynod.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | 1 | D | Doeth. 3. h. w. 10 | he. 11 g 33 | Do. 5. h. w. 17 | Dat. 19. h. w. 17 | **Holl Sainct.** |
| 13 | 2 | E | Ecleſiaſticus 16 | Luc 18 | Ecleſiaſticus 17 | Coloſiaid 2 | |
| 2 | 3 | F | ecleſiaſticus 18 | Luc 19 | ecleſiaſticus 19 | Colosiaid 3 | |
| | 4 | G | ecleſiaſticus 20 | Luc 20 | ecleſiaſticus 21 | Colosiaid 4 | |
| 10 | 5 | A | ecleſiaſticus 22 | Luc 21 | ecleſiaſticus 23 | 1 Theſſalon. 1 | **Brad y Pabau.** |
| | 6 | B | ecleſiaſticus 24 | Luc 22 | ecl. 25. h. w. 13 | 1 Theſſalon. 2 | Leonard Cyffeſſwr. |
| 18 | 7 | C | ecleſiaſticus 27 | Luc 23 | ecleſiaſticus 28 | 1 Theſſalon. 3 | |
| 7 | 8 | D | ecleſiaſticus 29 | Luc 24 | ecl. 30. h. w. 18. | 1 Theſſalon. 4 | |
| | 9 | E | ecleſiaſticus 31 | Ioan 1 | ecleſiaſticus 32 | 1 Theſſalon. 5 | |
| 15 | 10 | F | ecleſiaſticus 33 | Ioan 2 | ecleſiaſticus 34 | 2 Theſſalon. 1 | |
| 4 | 11 | G | ecleſiaſticus 35 | Ioan 3 | ecleſiaſticus 36 | 2 Theſſalon. 2 | Saint Marthin. |
| | 12 | A | ecleſiaſticus 37 | Ioan 4 | ecleſiaſticus 38 | 2 Theſſalon. 3 | |
| 12 | 13 | B | ecleſiaſticus 39 | Ioan 5 | ecleſiaſticus 40 | 1 Timotheus 1 | Britius. |
| 1 | 14 | C | ecleſiaſticus 41 | Ioan 6 | ecleſiaſticus 42 | 1 Timoth. 2, 3 | |
| | 15 | D | ecleſiaſticus 43 | Ioan 7 | ecleſiaſticus 44 | 1 Timotheus 4 | Machutus. |
| 9 | 16 | E | ecleſiaſticus 45 | Ioan 8 | ecl. 46. h. w. 20 | 1 Timotheus 5 | |
| | 17 | F | ecleſiaſticus 47 | Ioan 9 | ecleſiaſticus 48 | 1 Timotheus 6 | Huw E. |
| 17 | 18 | G | ecleſiaſticus 49 | Ioan 10 | ecleſiaſticus 50 | 2 Timotheus 1 | |
| 6 | 19 | A | ecleſiaſticus 51 | Ioan 11 | Baruch 1 | 2 Timotheus 2 | |
| | 20 | B | Baruch 2 | Ioan 12 | Baruch 3 | 2 Timotheus 3 | Edmund Frenin. |
| 14 | 21 | C | Baruch 4 | Ioan 13 | Baruch 5 | 2 Timotheus 4 | |
| 3 | 22 | D | Baruch 6 | Ioan 14 | Hiſtori Suſanna | Titus 1 | Cicilia. |
| | 23 | E | Bel, a'r Ddraig | Ioan 15 | Eſai 1 | Titus 2, 3 | Clement. |
| 11 | 24 | F | Eſai 2 | Ioan 16 | Eſai 3 | Philemon | |
| | 25 | G | Eſai 4 | Ioan 17 | Eſai 5 | Hebreaid 1 | Catherin. |
| 19 | 26 | A | Eſai 6 | Ioan 18 | Eſai 7 | Hebreaid 2 | |
| 8 | 27 | B | Eſai 8 | Ioan 19 | Eſai 9 | Hebreaid 3 | |
| | 28 | C | Eſai 10 | Ioan 20 | Eſai 11 | Hebreaid 4 | |
| 16 | 29 | D | Eſai 12 | Ioan 21 | Eſai 13 | Hebreaid 5 | Ymprŷd. |
| 5 | 30 | E | Dihareb'on 20 | Actau 1 | Dihareb'on 21 | Hebreaid 6 | S. **Andrews Ap.** |

Lle a trefnwŷd darllain darn o bennod am Lîth, nid oes yn y calan mor lle i ddatcan y rhannau hynnŷ yn gyflawn eitiau ; Ond fel a gwelwch yn y calan am Fis *Tachwedd*, gyferbŷn ar 6. 8. 16. o ddyddiau'r mîs, h. w. yn ſefŷll am hŷd wers.

A chyferbŷn a'r 29 dŷdd o *Fedi*, am y llith brŷdnawnol, gwelwch Dan. 10. gw 5. yn dangos fôd y llîth hono iw darllain or degfed bennod o lyfr Daniel, gan ddechreu yn y bumed wers. A chyferbŷn ar un dŷdd hwnnw gwelwch, Jud. g 6. h. w. 16. Yn dangos i chwi fôd y llîth honno iw darllain yn Epiſtol Jud, gan ddechreu yn y chweched wers, a diweddu yn yr unfed ar bymtheg wers.

# MIS RHAGFYR SYDD IDDO 31. O DDYDDIAU.

| Yr Euraid Rifedi. | Dyddiau'r mis. | Llythyrennau'r Sul. | BOREUOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | BOREUOL Weddiau. Yr ail Llithoedd. | PRYDNAWNOL Weddiau. Y Llithoedd cyntaf. | PRYDNAWNOL Weddiau. Yr ail Llithoedd. | Y Dyddiau Gwŷlion, a'r dyddiau hynod. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | 1 | F | Eſai 14 | Actau 2 | eſai 15 | Hebreaid 7 | |
| 13 | 2 | G | Eſai 16 | Actau 3 | eſai 17 | Hebreaid 8 | |
| 2 | 3 | A | Eſai 18 | Actau 4 | eſai 19 | Hebreaid 9 | |
| 10 | 4 | B | Eſ. 20, 21 | Actau 5 | eſai 22 | Hebreaid 10 | |
| | 5 | C | Eſai 23 | Actau 6 | eſai 24 | Hebreaid 11 | |
| 18 | 6 | D | Eſai 25 | Act.7.*h.w* 29 | eſai 26 | Hebreaid 12 | Nicholas, Eſgob. |
| 7 | 7 | E | Eſai 27 | Act.7. *gw.* 30 | eſai 28 | Hebreaid 13 | |
| | 8 | F | Eſai 29 | Actau 8 | eſai 30 | Jaco 1 | Ymdd. y Fen. Fair. For. |
| 15 | 9 | G | Eſai 31 | Actau 9 | eſai 32 | Jaco 2 | |
| 4 | 10 | A | Eſai 33 | Actau 10 | eſai 34 | Jaco 3 | |
| | 11 | B | Eſai 35 | Actau 11 | eſai 36 | Jaco 4 | |
| 12 | 12 | C | Eſai 37 | Actau 12 | eſai 38 | Jaco 5 | |
| 1 | 13 | D | Eſai 39 | Actau 13 | eſai 40 | 1 Peter 1 | Luci Morwŷn a *Mer.* |
| | 14 | E | Eſai 41 | Actau 14 | eſai 42 | 1 Peter 2 | |
| 9 | 15 | F | Eſai 43 | Actau 15 | eſai 44 | 1 Peter 3 | |
| | 16 | G | Eſai 45 | Actau 16 | eſai 46 | 1 Peter 4 | O ſapientia. |
| 17 | 17 | A | Eſai 47 | Actau 17 | eſai 48 | 1 Peter 5 | |
| 6 | 18 | B | Eſai 49 | Actau 18 | eſai 50 | 2 Peter 1 | |
| | 19 | C | Eſai 51 | Actau 19 | eſai 52 | 2 Peter 2 | |
| 14 | 20 | D | Eſai 53 | Actau 20 | eſai 54 | 2 Peter 3 | Ymprŷd. |
| 3 | 21 | E | Dihar 23 | Actau 21 | Dihar. 24 | 1 Joan 1 | S. **Thomas Apoſtol.** |
| | 22 | F | eſai 55 | Actau 22 | eſai 56 | 1 Joan 2 | |
| 11 | 23 | G | eſai 57 | Actau 23 | eſai 58 | 1 Joan 3 | |
| | 24 | A | eſai 59 | Actau 24 | eſai 60 | 1 Joan 4 | Ymprŷd. |
| 19 | 25 | B | eſ.9 h.w.8 | Lu. 2. *h.w.* 15 | eſ7.*g*.10.*h*.17 | Tit.3.*gw*.4.*h*.9 | **Dydd Natalic Criſt.** |
| 8 | 26 | C | Dihar. 28 | Act.6. *g*.8. & | Pregeth. 4 | act 7.*g*.30.*h*.55 | S. **Stephan** *M.* cyntaf |
| | 27 | D | Ecclus. 5 | Datcuddiad 1 | ecclus. 6 | Datcuddi. 22 | **St. Joan Apoſtol.** |
| 16 | 28 | E | Je.31.*h*.18 | Actau 25 | Doethin. 1 | 1 Joan 5 | **Gwyl y Gwirioniaid** |
| 5 | 29 | F | eſai 61 | Actau 26 | eſai 62 | 2 Joan | |
| | 30 | G | eſai 63 | Actau 27 | eſai 64 | 3 Joan | |
| 13 | 31 | A | eſai 65 | Actau 28 | eſai 66 | Jud | Silveſter Eſ. Rhufein. |

Nid ŷw'r hŷn a yſcrifennais tan waelod calan y miſoedd, ddim achwanegiad at y llyfr Gweddi-gyffredin ; Ond Athrawiaeth i'r bobl annyſgedig i ddyſgu iddŷnt ddeall yn hwŷl-uſach yr hŷn oedd yn y llyfr o'r blaen. Ond gwŷddwn mae afraid yru'r fâth Athrawiaeth at yſgolheigion: Etto gan ddigwŷdd tan galan y miſoedd ſannau gweigion, gobeithio na ddigia neb wrthif am roddi'r fâth Athrawiaeth i'r anllythrennog, yn enwedig os yſtyriant fôd gwŷr fwriad cyfraith yr Eglwŷs, gael o Lyfr Gweddi-gyffredin ei ddarllain, a'i ddeall gan bawb.

## Rheolau i ddangos (yn eglurach nag erioed or blaen) pa bryd a bo'r Gwyliau Symmudol yn dechreu.

DYdd y Pasg (ar ba un a mae'r lleill oll yn sefyll) sydd yn amlaf y Sul cyntaf wedi'r llawn Lleuad a ddigwyddo nesaf ar ôl yr Unfed dydd ar hugain o Fis *Mawrth*, Ac os digwydd y llawn Lleuad ar ddydd Sul, Dydd Pasg yw y Sul nesaf ar ôl hwnnw.

*Y Rheol uchod a Argraphwyd yn wastadol hyd yn hyn yn y llysr Gweddi-gyffredin: Ond etto digwyddodd yn anghywir yn y blynyddoedd o oed Iesu 1671. ac 1698. Ac mewn amryw flynyddoedd eraill, ac a ddigwydd yn anghywir etto ar ryw amseroedd cyn a bo hir: Ond y Rheolau sy'n canlyn isod a ddigwyddant yn gywir bôb amser.*

PA bryd bynnag a newidio'r Lleuad yn mis *Chwefror*, y dydd mawrth cyntaf ar ôl y newidiad hwnnw yw mawrth Ynyd; Os newidiff y lleuad ar ddydd mawrth, y mawrth nesaf ar ôl hwnnw yw mawrth Ynyd. Oni bydd y lleuad yn newid yn mis *Chwefror*, y newidiad cyntaf yn mis *Mawrth* a fydd cyn mawrth Ynyd.

### Taflen yn dangos y modd i gael y Pasc tros byth.

| Y Prif. | A | | B | | C | | D | | E | | F | | G | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 | Ebrill | 9 | Ebrill | 10 | Ebrill | 11 | ebrill | 12 | ebrill | 6 | ebrill | 7 | ebrill | 8 |
| 2 | Mawrth | 26 | Mawrth | 27 | Mawrth | 28 | Mawrth | 29 | Mawrth | 30 | Mawrth | 31 | ebrill | 1 |
| 3 | Ebrill | 16 | ebrill | 17 | ebrill | 18 | ebrill | 19 | ebrill | 20 | ebrill | 14 | ebrill | 15 |
| 4 | Ebrill | 9 | ebrill | 3 | ebrill | 4 | ebrill | 5 | ebrill | 6 | ebrill | 7 | ebrill | 8 |
| 5 | Mawrth | 26 | Mawrth | 27 | Mawrth | 28 | Mawrth | 29 | Mawrth | 23 | Mawrth | 24 | Mawrth | 25 |
| 6 | Ebrill | 16 | ebrill | 17 | ebrill | 11 | ebrill | 12 | ebrill | 13 | ebrill | 14 | ebrill | 15 |
| 7 | Ebrill | 2 | ebrill | 3 | ebrill | 4 | ebrill | 5 | ebrill | 6 | Mawrth | 31 | ebrill | 1 |
| 8 | Ebrill | 23 | ebrill | 24 | ebrill | 25 | ebrill | 19 | ebrill | 20 | ebrill | 21 | ebrill | 22 |
| 9 | Ebrill | 9 | ebrill | 10 | ebrill | 11 | ebrill | 12 | ebrill | 13 | ebrill | 14 | ebrill | 8 |
| 10 | ebrill | 2 | ebrill | 3 | Mawrth | 28 | Mawrth | 29 | Mawrth | 30 | Mawrth | 31 | ebrill | 1 |
| 11 | ebrill | 16 | ebrill | 17 | ebrill | 18 | ebrill | 19 | ebrill | 20 | ebrill | 21 | ebrill | 22 |
| 12 | ebrill | 9 | ebrill | 10 | ebrill | 11 | ebrill | 5 | ebrill | 6 | ebrill | 7 | ebrill | 8 |
| 13 | Mawrth | 26 | Mawrth | 27 | Mawrth | 28 | Mawrth | 29 | Mawrth | 30 | Mawrth | 31 | Mawrth | 25 |
| 14 | ebrill | 16 | ebrill | 17 | ebrill | 18 | ebrill | 19 | ebrill | 13 | ebrill | 14 | ebrill | 15 |
| 15 | ebrill | 2 | ebrill | 3 | ebrill | 4 | ebrill | 5 | ebrill | 6 | ebrill | 7 | ebrill | 8 |
| 16 | Mawrth | 26 | Mawrth | 27 | Mawrth | 28 | Mawrth | 22 | Mawrth | 23 | Mawrth | 24 | Mawrth | 25 |
| 17 | ebrill | 16 | ebrill | 10 | ebrill | 11 | ebrill | 12 | ebrill | 13 | ebrill | 14 | ebrill | 15 |
| 18 | ebrill | 2 | ebrill | 3 | ebrill | 4 | ebrill | 5 | Mawrth | 30 | Mawrth | 31 | ebrill | 1 |
| 19 | ebrill | 23 | ebrill | 24 | ebrill | 18 | ebrill | 19 | ebrill | 20 | ebrill | 21 | ebrill | 22 |

PAn gaffoch y Prif neu'r Euraid Rifedi, a llythyren y Sul a fo yn perthyn i ryw flwyddyn, chwiliwch yn y golofn gyntaf (neu'r nesaf ir llaw aswy o'r daflen uchod) am y rhifedi hwnnw o'r Prif; A phan gaffoch hynny, cyfeiriwch eich llygaid yn union tua'r llaw ddeheu hyd oni ddeloch tan lythyren y Sul, Ac yno cewch henw'r mis yn gyflawn air, ac ar ei gyfer yn yr un golofn cewch ffigur yn arwyddo y dydd o'r mis a digwyddo Sul y Pasc yn y flwyddyn honno. Cymerwch yn Exampl fel a canlyn isod.

Os mynech wybod pa bryd a digwydd dydd Pasc yn y flwyddyn o oed Iesu 1702. Y Prif am y flwyddyn honno yw 12. A llythyren y Sul yw D. Gyferbyn a 12 or Prif, a than D yn y daflen uchod cewch weled *Ebrill* 5. yn dangos i chwi fôd Sul y Pasc ar y Pummed dydd o *Ebrill* yn y flwyddyn 1702.

## Ar ol cael y Pasc wrth un or Rheolau o'r blaen, yr holl Wyliau Symudol eraill a geir fel a canlyn.

SUl Septuagesima, sŷdd Naw wŷthnos cŷn y Pasc.
Sul Sexagesima, sŷdd Wŷth wŷthnos cŷn y Pasc.
Sul Quinquagesima, neu Sul Ynŷd, sŷdd saith wŷthnos cŷn y Pasc.
Sul Quadragesima, sŷdd chwech wŷthnos cŷn y Pasc.
Sul y Gweddiau, sŷdd bum wŷthnos wedi'r Pasc.
Dŷdd Jou y derchafael, sŷdd bum wŷthnos a phedwar diwrnod wedi'r Pasc.
Y Sul Gwŷn, sŷdd saith wŷthnos wedi'r Pasc.
Sul y Drindod, sŷdd wŷth wŷthnos wedi'r Pasc.
Y Sul cyntaf o Adfent, ŷw'r Sul nesaf i wŷl St. *Andrew*, pa un bynnag a'l cŷn a'i gwedi.

## Taflen o'r holl Wyliau, A'r sydd iw cadw yn Eglwys Loeger a Chymru, trwy'r flwyddyn.

YR holl Suliau yn y flwŷddŷn.
Jonawr 1. Dŷdd gwŷl Enwaediad ein Harglwŷdd Iesu Grist.
Jonawr 6. Dŷdd Ystwŷll.
Jonawr 25. Dŷdd gwŷll Saint Paul.
Chwefror 2. Dŷdd gwŷl Fair y canhwŷllau, neu Puredigaeth y fendigedig forwŷn.
Chwefror 24. Dŷdd gwŷl Saint Matthias yr Apostol.
Mawrth 25. Dŷdd gwŷl Cenadwri y fendigedig Fair Forwŷn.
Ebrill 25. Dŷdd gwŷl Saint Marc yr Efangylwr.
Mai 1. Dŷdd gwŷl Saint Philip, a Saint Iaco yr Apostolion.
Dŷdd gwŷl Jou Derchafael ein Harglwŷdd Iesu Grist.
Mehefin 11. Dŷdd gwŷl Saint Barnabas.
Mehefin 24. Dŷdd gwŷl Natalic Saint Joan Fedyddiwr.
Mehefin 29 .Dŷdd gwŷl Saint Peter yr Apostol.
Gorphennaf 25. Dŷdd gwŷl Saint Jago yr Apostol.
Awst 24. Dŷdd gwŷl Saint Bartholomews yr Apostol.
Medi 21. Dŷdd gwŷl Saint Matthew yr Apostol.
Medi 29 Dŷdd gwŷl Saint Michael yr Arch-Angel, a'r holl Angylion.
Hydref 18. Dŷdd gwŷl Saint Luc yr Efangylwr.
Hydref 28. Dŷdd gwŷl Saint Simon, a Saint Jud yr Apostolion.
Tachwedd 1. Dŷdd gwŷl yr Holl Sainct.
Tachwedd 30. Dŷdd gwŷl Saint Andrews yr Apostol.
Rhagfŷr 21. Dŷdd gwŷl Saint Thomas yr Apostol.
Rhagfŷr 25. Dŷdd gwŷl Natalic ein Harglwŷdd Iesu Grist.
Rhagfŷr 26. Dŷdd gwŷl Saint Stephen y Merthŷr.
Rhagfŷr 27. Dŷdd gwŷl Saint Joan yr Efangylwr.
Rhagfŷr 28. Dŷdd gwŷl y Mil Feibion, neu y Sanctaidd Iân Wirioniaid
Dŷdd Llun, a dŷdd Mawrth y Pasc.
Dŷdd Llun, a dŷdd Mawrth y Sul gwŷn.

Rhagfŷr

## Taflen o'r Nos-wyliau iw cadw yn y flwyddyn

Rhagfyr 24. Nos-wŷl Natalic ein Harglwŷdd Iesu Grist.
Chwefror 1. Nos-wŷl Puredigaeth y Fendigedig Fair Forwŷn.
Chwefror 23. Nos-wŷl Saint Matthias yr Apostol.
Mawrth 24. Nos-wŷl Cennadwri y Fendigedig Fair Forwŷn.
Nos-wŷl y Pasc.
Nos-wŷl y Derchafael.
Nos-wŷl y Sul-Gwŷn.
Mehefin 23. Nos-wŷl Saint Joan Fedyddiwr.
Mehefin 28. Nos-wŷl Saint Peter yr Apostol.
Gorphennaf 24. Nos-wŷl Saint Jaco yr Apostol.
Awst 23. Nos-wŷl Saint Bartholomew yr Apostol.
Medi 20. Noswŷl Saint Matthew yr Apostol.
Hydref 27. Nos-wŷl Saint Simon, a Saint Jud yr Apostolion.
Hydref 31. Nos-wŷl yr Holl Sainct.
Tachwedd 29. Nos-wŷl Saint Andrews yr Apostol.
Rhagfyr 20. Noswŷl Saint Thomas yr Apostol.

Gwŷbyddwch, os digwŷdd un o'r dyddiau Gwŷlion hŷn ar ddŷdd llun, yna'r Noswŷl a gedwir ar ddŷdd Sadwrn, ac nid ar y Sul nesaf o'i flaen.

## Taflen o'r Dyddiau Ympryd neu Ardbeorwydd.

1 Y Deugein nŷdd Grawŷs.

Dyddiau y Cŷd-coriau, ar y pedwar amser, y rhain sŷ'n canlŷn isod.

2 Dŷdd Mercher, Dŷdd Gwener, a Dŷdd Sadwrn, ar ol y Sul cyntaf o'r Grawŷs.
Dŷdd Mercher, Dŷdd Gwener, a Dŷdd Sadwrn, ar ol y Sul-Gwŷn.
Dŷdd Mercher, Dŷdd Gwener, a Dŷdd Sadwrn, ar ol y 14 dŷdd o Fis *Medi*.
Dŷdd *Mercher*, Dŷdd Gwener, a Dŷdd Sadwrn, ar ol y 13 dŷdd o Fis Rhagfŷr.

3 Tridiau y Gweddiau, y rhain ydŷnt, Dŷdd Llun, Dŷdd *Mawrth*, a Dŷdd Gwener oflaen y Sanctaidd Ddŷdd Jou, neu Dderchafael ein Haglwŷdd Jesu Grist.

4 Pôb dŷdd Gwener yn y flwŷddŷn, onid y dŷdd gwener a ddigwŷdd ar ddŷdd natalic Crist.

## Amryw Ddyddiau Solemn, ar ba rai yr apwyntwyd Gwasanaeth neilltuol.

1. Y Pummed Dŷdd o Dachwedd, sef dŷdd brâd y Papistiaid, drwŷ bowdr Gwn, i chwŷthu i fynu y Brenin, a'r Parliament i'r awŷr ar unwaith, yn y flwŷddŷn 1605.

2 Y Degfed ar hugain dŷdd o Jonawr, sef *Marthyri* y Brenin *Charles* y cyntaf, yr hŷn a wnaed yn gywilyddus yn y flwŷddŷn o oed Jesu 1648.

3. Y Nawfed ar hugain Dŷdd o Fai, yr hwn oedd Natalic, a dŷdd dychweliad y Brenin *Charles* yr Ail.

TAFLEN

# Taflen o'r Gwyliau Symudol, wedi eu Rhag-fwrw dros Ddeg ar hugain o Flynyddoedd

| Oedran yr Arglwydd | Y Prif. | Yr Epact | Llythyren y Sul. | Suliau wedi'r Ystwyll | Sul Septuagesima. | Y dydd cyntaf o'r Grawys, neu dydd mercher y Lludw. | Dydd Sul Y Pasc. | Sul Y Gweddiau. | dydd Iou Y Derchafael. | Y Sul Gwyn. | Suliau wedi'r Drindod | Y Sul cyntaf o'r Adfent. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1701 | 11 | 1 | E | 5 | chwefror 16 | mawrth 5 | ebrill 20 | mai 25 | mai 29 | mehefin 8 | 23 | Tachwedd 30 |
| 1702 | 12 | 12 | D | 3 | chwefror 1 | chwefror 18 | ebrill 5 | mai 10 | mai 14 | mai 24 | 25 | Tachwedd 29 |
| 1703 | 13 | 23 | C | 2 | Jonawr 24 | chwefror 10 | mawrth 28 | mai 2 | mai 6 | mai 16 | 22 | Tachwedd 28 |
| 1704 | 14 | 4 | B A | 4 | chwefror 13 | chwefror 29 | ebrill 16 | mai 21 | mai 25 | mehefin 4 | 23 | Rhagfyr 3 |
| 1705 | 15 | 15 | G | 4 | chwefror 4 | chwefror 21 | ebrill 8 | mai 13 | mai 17 | mai 27 | 27 | Rhagfyr 2 |
| 1706 | 16 | 26 | F | 1 | Jonawr 20 | chwefror 6 | mawrth 24 | ebrill 28 | mai 2 | mai 12 | 27 | Rhagfyr 1 |
| 1707 | 17 | 7 | E | 4 | chwefror 9 | chwefror 26 | ebrill 13 | mai 18 | mai 22 | mehefin 1 | 24 | Tachwedd 30 |
| 1708 | 18 | 18 | D C | 3 | chwefror 2 | chwefror 17 | ebrill 4 | mai 9 | mai 13 | mai 23 | 25 | Tachwedd 28 |
| 1709 | 19 | 29 | B | 6 | chwefror 20 | mawrth 9 | ebrill 24 | mai 29 | mehefi. 2 | mehefin 12 | 22 | Tachwedd 27 |
| 1710 | 1 | 11 | A | 4 | chwefror 5 | chwefror 22 | ebrill 9 | mai 14 | mai 18 | mai 28 | 25 | Rhagfyr 3 |
| 1711 | 2 | 22 | G | 2 | Jonawr 28 | chwefror 14 | ebrill 1 | mai 6 | mai 10 | mai 20 | 26 | Rhagfyr 2 |
| 1712 | 3 | 3 | F E | 3 | Jonawr 30 | mawrth 5 | ebrill 20 | mai 25 | mai 29 | mehefin 8 | 25 | Tachwedd 30 |
| 1713 | 4 | 14 | D | 3 | chwefror 1 | chwefror 18 | ebrill 5 | mai 10 | mai 14 | mai 24 | 25 | Tachwedd 29 |
| 1714 | 5 | 25 | C | 2 | Jonawr 24 | chwefror 10 | mawrth 28 | mai 2 | mai 6 | mai 16 | 26 | Tachwedd 28 |
| 1715 | 6 | 6 | B | 5 | chwefror 13 | mawrth 2 | ebrill 17 | mai 22 | mai 26 | mehefin 5 | 23 | Tachwedd 27 |
| 1716 | 7 | 17 | A G | 3 | Jonawr 29 | chwefror 14 | ebrill 1 | mai 6 | mai 10 | mai 20 | 26 | Rhagfyr 2 |
| 1717 | 8 | 28 | F | 5 | chwefror 17 | mawrth 6 | ebrill 21 | mai 26 | mai 30 | mehefin 9 | 23 | Rhagfyr 1 |
| 1718 | 9 | 9 | E | 4 | chwefror 9 | chwefror 26 | ebrill 13 | mai 18 | mai 22 | mehefin 1 | 24 | Tachwedd 30 |
| 1719 | 10 | 20 | D | 2 | Jonawr 25 | chwefror 11 | mawrth 29 | mai 3 | mai 7 | mai 17 | 26 | Tachwedd 29 |
| 1720 | 11 | 1 | C B | 5 | chwefror 14 | mawrth 1 | ebrill 17 | mai 22 | mai 26 | mehefin 5 | 23 | Tachwedd 27 |
| 1721 | 12 | 12 | A | 4 | chwefror 5 | chwefror 22 | ebrill 9 | mai 14 | mai 18 | mai 28 | 25 | Rhagfyr 3 |
| 1722 | 13 | 23 | G | 2 | Jonawr 21 | chwefror 7 | mawrth 25 | ebrill 29 | mai 3 | mai 13 | 27 | Rhagfyr 2 |
| 1723 | 14 | 4 | F | 4 | chwefror 10 | chwefror 27 | ebrill 14 | mai 19 | mai 23 | mehefin 2 | 24 | Rhagfyr 1 |
| 1724 | 15 | 15 | E D | 3 | chwefror 2 | chwefror 18 | ebrill 5 | mai 10 | mai 14 | mai 24 | 25 | Tachwedd 29 |
| 1725 | 16 | 26 | C | 2 | Jonawr 24 | chwefror 10 | mawrth 28 | mai 2 | mai 6 | mai 16 | 26 | Tachwedd 28 |
| 1726 | 17 | 7 | B | 4 | chwefror 6 | chwefror 23 | ebrill 10 | mai 15 | mai 19 | mai 29 | 24 | Tachwedd 27 |
| 1727 | 18 | 18 | A | 3 | Jonawr 29 | chwefror 15 | ebrill 2 | mai 7 | mai 11 | mai 21 | 26 | Rhagfyr 3 |
| 1728 | 19 | 29 | G F | 5 | chwefror 17 | mawrth 6 | ebrill 21 | mai 26 | mai 30 | mehefin 9 | 23 | Rhagfyr 1 |
| 1729 | 1 | 11 | E | 3 | chwefror 2 | chwefror 19 | ebrill 6 | mai 11 | mai 15 | mai 25 | 25 | Tachwedd 30 |
| 1730 | 2 | 22 | D | 2 | Jonawr 25 | chwefror 11 | mawrth 29 | mai 3 | mai 7 | mai 17 | 26 | Tachwedd 29 |

Gwybyddwch fod cyfrifolaeth blwyddyn ein Harglwydd yn Eglwys *Loegr*, yn dechreu y Pummed Dydd ar hugain o *Fawrth*.

## Y DREFN AM FOREUOL, A PHRYDNHAWNOL WEDDI,

### Iw Dywedyd beunydd, a'u harferu trwy'r flwyddyn.

*Y Foreuol, a'r Brŷdnhawnol weddi, a arferir yn y mann cynnefinol o'r Eglwŷs, Cappel, neu Ganghell; Oddieithr i Ordinari y lle farnu yn amgenach. A'r canghellau a gânt sefŷll yn y môdd yr oeddŷnt o'r blaen.*

*Ac ymma noder, fôd yn rhaid cadw, a chynnal Addurniadau'r Eglwŷs, a'i gweinidogion a'r bôb amser o'u gweinidogaeth, yr un môdd ac yr oeddŷnt yn Eglwŷs Loeger trwŷ awdurdod y Parliament, yn yr ail flwŷddŷn o deŷrnasiad Brenin Edwart y chweched.*

## Y DREFN AM WEDDI FOREUOL,

### bob dydd Trwy'r flwyddyn.

* *Ar ddechreu y Weddi Foreuol, darllenned y Gweinidog a llêf uchel, rŷw un neu ychwaneg o'r synhwŷrau hŷn o'r Scrythŷr lân, y rhai sŷdd yn canlŷn. Ac yno dyweded yr hŷn sŷdd yscrifennedig ar ôl y Synhwŷrau.*

PAn ddychwelo yr annuwiol oddiwrth ei ddrygioni yr hŷn a wnaeth, a gwneuthur barn a chyfiawnder, efe a geidw yn fŷw ei Enaid. ( *Ezeciel* 18. 27.)

Yr wŷt yn cydnabod fy nghamweddau: a'm pechod sŷdd yn wastad ger fy mron.

Cuddia dy wŷneb oddiwrth fy mhechodau: a deléa fy hôll anwireddau. ( *Psalm* 51. 9. )

Aberthau Duw ydŷnt ysprŷd drylliedig: calon ddrylliog, gystuddiedig, O Dduw ni ddirmygi. ( *Psalm* 51. 17. )

Rhwŷgwch eich calonnau ac nid eich dillad; ac ymchwelwch at yr Arglwŷdd eich Duw: O herwŷdd grasla wn a thrugarog ŷw efe, hwŷrfrydig i ddigofaint, a mawr ei drugaredd, ac edifeiriol am ddrwg. ( *Joel* 2. 13 )

Gan yr Arglwŷdd ein Duw a mae trugareddau a maddeuant, er gwrthryfelu o honom iw erbŷn; Ni wrandawsom ychwaith ar lais yr Arglwŷdd ein Duw, i rodio yn ei gyfreithiau ef, y rhai a roddodd efe o'n blaen ni.

Cospa fi, Arglwŷdd, etto mewn barn nid yn dy lîd, rhag it fy ngwneuthur yn ddiddim. ( *Jeremi* 10. 24. )

Edifarhewch, canŷs nesaodd teŷrnas nefoedd. ( *Matthew* 3. 2. )

Mi a godaf, ac âf at fy nhâd, ac a ddywedaf wrtho, Fy Nhâd, pechais yn erbŷn y Nêf ac o'th flaen ditheu; ac mwŷach nid ydwŷf deilwng i'm galw yn Fâb i ti. (*Luc* 15. 18, 19.)

Naddôs i'r farn a'th wâs. o herwŷdd ni chyfiawnheir neb bŷw yn dy olwg di. *ps* 143.2

Os dywedwn, nad oes ynom bechod, yr ydŷm yn ein twŷllo ein hunain, a'r gwirionedd nid ŷw ynom. Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon ŷw efe, fel a maddeuo i ni ein pechodau, ac i'n glanhâo oddiwrth bób anghyfiawnder. ( 1 *Ioan* 1. 8, 9. )

FY anwŷl gariadus frodŷr, mae yr Scrythŷr lân yn ein cynhyrfu mewn amrŷw fannau, i gydnabod, ac i gyffessu ein haml bechodau, a'n hanwiredd; ac na wnelem na'u cuddio na'u celu yngwŷdd yr Holl-alluog Dduw ein Tâd nefol, eithr eu cyffessu a gostyngedig, isel, edifarus, ac ufudd galon, er mwŷn caffael o honom faddeuant am danŷnt, trwŷ ei anfeidrol ddaioni, a'i drugaredd ef. A chŷd ddylem ni bôb amser addef yn ostyngedig ein pechodau ger bron Duw; Etto ni a ddylem yn bennaf wneuthur hyrnŷ pan ymgynhullom i gŷd-gyfarfod, i dalu diolch am yr aml ddaioni a dderbyniasom ar ei law ef, i ddatcan ei haeddedigcaf foliant, i wrando ei sancteiddiaf air ef, ac i erchi y cyfrŷw bethau ac a fyddo cymmwŷs ac angenrheidiol, yn gystal ar lês y corph a'r enaid. O herwŷdd paham myfi a erfynaf, ac a attolygaf i chwi, cynnifer ac sŷdd ymma yn bressennol, gŷd-tŷnnu a myfi. a chalon bur, ac a lleferydd gostyngedig, hŷd yngorseddfa y nefol rad, gan ddywedŷd ar fy ôl i.

* *Cyffes gyffredin iw dywedyd gan yr hôll gynnulleidfa ar ôl y Gweinidog, gan ostwng ar eu gliniau ôll.*

HOll-alluog Dduw a thrugarogcaf Dâd, Ni a aethom ar gyfeiliorn allan o'th ffyrdd di, fel defaid ar gyfyrgoll; Nyni a ddilŷnasom ormod ar amcanion, a chwantau ein calonnau ein hunain: Nyni a wnaethom yn erbŷn dy sancteiddiol gyfreithiau: Nyni adawsom heb wneuthud y pethau, a ddylesem eu gwneuthur, ac a wnaethom y pethau ni ddylesem eu gwneuthur; Ac nid oes iechŷd ynom, eithr tydi O Arglwŷdd, cymmer drugaredd arnom ddrŵg weithredwŷr truain, Arbet ti hwŷntwŷ, O Dduw, y rhai sŷ'n cyffessu eu beiau; Cyweiria di y sawl sŷdd yn edifarus. Yn ôl dy addewidion a yspyssŵyd i ddŷn, yng-Hrist Iesu ein Harglwŷdd. A channiadtâ drugarogcaf Dâd er ei swŷn ef, sŷw o honom rhag llaw mewn duwiol, union a sobr fuchedd, i ogoniant dy sancteiddiol Enw: Amen.

* *Y gollyngdod neu faddeuant pechodau, iw datcan gan y gweinidog yn unic yn ei sefŷll, a'r bobl etto ar eu gliniau.*

YR Holl-Alluog Dduw, Tâd ein Harglwŷdd Iesu Grist, yr hwn ni ddeisŷf farwolaeth pechadur, eithr yn hyttrach ymchwelŷd o honaw oddiwrth ei anwiredd a bŷw: Ac a roddes allu a gorchymŷn iw weinidogion, i ddeclario ac i fynegu iw bobl sŷdd yn edifarus, ollyngdod a maddeuant am eu pechodau: Efe a bardyna, ac a ollwng y rhai oll sŷ wir edifeiriol, ac yn ddiffuant yn credu iw sancteiddiol Efengŷl ef. Herwŷdd paham attolygwn ni iddo ganiadtau i ni wir edifeirwch, a'i Yspryd glân, fel a byddo bodlon ganddo y pethau yr ydŷm y prŷd hŷn yn eu gwneuthur, a bôd y rhan arall o'n bywŷd rhag llaw yn bûr, ac yn sancteiddiol, megis a delom o'r diwedd iw lawenŷdd tragywŷddol, trwŷ Iesu Grist ein Harglwŷdd.

* *Attebed y bobl ymma, ac ar ddiwedd pôb un o'r gweddiau eraill. Amen.*

* *Yna a gostwng y Gweinidog ar ei liniau, ac a ddywed weddi yr Arglwŷdd a llef uchel, a'r bobl hefŷd ar eu gliniau, yn ei dywedŷd gydag ef, yn y fan ymma, ac ymhâ lê bynnag yr arferir hi yn y gwasanaeth.*

EIn Tâd yr hwn wŷt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Deled dy deŷrnas. Bydded dy ewŷllŷs ar y ddaiar megis a mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddiw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel a maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth; Eithr gwared ni rhag drŵg: Canŷs eiddot ti ŷw'r Deŷrnas a'r gallu, a'r gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

*Yna a dywaid ef yn yr un môdd.*

Arglwŷdd agor ein gwefusau,

*Atteb.* A'n genau a fynega dy foliant.

*Offeiriad.* Duw bryssia i'n cynnorthwŷo.

*Atteb.* Arglwŷdd pryssura i'n cymmorth.

* *Yna a'r bobl yn eu sefŷll yr Offeiriad a ddywed.*

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

*Atteb.* Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awrhon, ac a bŷdd yn wastad yn oes oesoedd. Amen.

*Offeiriad.* Molwch yr Arglwŷdd.

*Atteb.* Moliannus fyddo Enw'r Arglwŷdd.

* *Yna a dywedir, neu a cenir y Psalm hon sŷ'n canlŷn, oddieithr ar Ddŷdd Pasc. ar yr hwn y mae Anthem arall gwedi ei appwŷntio; ac a'r y namyn un ugain dŷdd o bôb mîs, ni ddarllenir 'mono yn y fan hon, ond yn arferol gŷlch y Psalmau.*

*Psalm 95.*

DEuwch, canwn i'r Arglwŷdd: ymlawenhawn yn nerth ein hiechŷd.

Deuwn ger ei fron ef a diolch: canwn yn llafar iddo Psalmau.

Canŷs yr Arglwŷdd sŷdd Dduw mawr; a Brenin mawr ar yr hôll Dduwiau.

Oblegit yn ei law ef a mae gorddyfnderau y ddaiar: ac ef pieu uchelder y mynyddoedd.

Y môr sŷdd eiddo, canŷs efe a'i gwnaeth: a'i ddwŷlaw a luniasant y sych dîr.

Deuwch addolwn, a syrthiwn i lawr, a gostyngwn ger bron yr Arglwŷdd ein gwneuthurwr.

Canŷs efe ŷw ein Duw ni: a ninnau ŷm bobl ei borfa ef, a defaid ei ddwŷlaw.

Heddiw

Heddiw o gwrandewch ar ei leferŷdd, na chaledwch eich calonnau: megis yn yr ymrysonfa, yn nŷdd profedigaeth yn yr anialwch.

Lle a temptiodd eich tadau fi, a profasant fi, a gwelsant fy ngweithredoedd.

Deugain mhlynedd yr ymrysonais a'r genhedlaeth hon, a dywedais: pobl gyfeiliornus yn eu calonnau ydŷnt hwŷ, canŷs nid adnabuant fy ffŷrdd.

Wrth y rhai a tyngais yn fy llîd, na ddelent i'm gorphwŷsfa.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân: Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awrhon, ac a bŷdd yn wastad, yn oes oesoedd. Amen.

* *Yn ôl hŷn a dilŷn rhŷw* Psalmau *mewn trefn, megis yr appwŷntiwŷd. Ac ar ddiwedd pôb* Psalm *drwŷ'r flwŷddŷn, a'r un môdd ar ddiwedd* Benedictus, Benedicite, Magnificat, a nunc dimittis, *a dywedir.*

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

*Atteb.* Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awrhon, ac a bŷdd yn wastad, yn oes oesoedd. Amen.

* *Yna a darllenir yn llawn llythŷr, a lleferŷdd uchel y llîth gyntaf, gwedi ei chymerŷd allan o'r hên Destament; megis ac yr appwŷntiwŷd wrth y Calender oddieithr, bôd llithiau priod wedi asseinio i'r dŷdd hwnnw. Y gweinidog a ddarlleno, safed, ac ymchweled, megis a galler ei glywed yn oreu gan bawb oll ar a fo yn bresenol. Ac yn ôl hynnŷ a dywedir neu cenir yr Hŷmn a elwir* Te Deum laudamus, *yn gymraeg beunŷdd trwŷ'r holl flwŷddŷn.*

* *Oslaen pôb llîth y Gweinidog a ddywed,* Ymma a mae yn dechreu y cyfryw bennod neu adnod o'r cyfrŷw bennod o'r llyfr a'r llyfr. *Ac ar ol pôb llîth,* Ymma a terfyn y llith gyntaf neu'r ail.

*Te Deum Laudamus.*

TI Dduw a folwn: ti a gydnabyddwn yn Arglwŷdd.

Yr hôll ddaiar a'th fawl di y Tâd tragywŷddawl.

Arnat ti a llefa yr holl Angylion: y nefoedd a'r holl nerthoedd o'u mewn.

Arnat ti a llefa Cherubin a Seraphin, a lleferŷdd ddibaid.

Sanct, Sanct, Sanct: Arglwŷdd Dduw Sabaoth.

Nefoedd a daiar sŷdd yn llawn o'th ogoniant.

Gogoneddus gôr yr Apostolion: a'th fawl di.

Moliannus nifer y Prophwŷdi: a'th fawl di.

Ardderchog lu y Merthyri: a'th fawl di.

Yr Eglwŷs lân trwŷ'r holl Fŷd: a'th addef di.

Y Tâd o anfeidrawl fawredd.

Dy anrhydeddus wîr: ac unic Fâb.

Hefŷd yr Yspryd glân: y diddanwr.

Ti Crîst, ŷw Brenin y gogoniant.

Ti ŷw tragywŷddol Fâb y Tâd.

Pan gymmeraist arnat waredu dŷn: ni ddiystyraist fru yr wŷryf.

Pan orchfygaist holl nerth angeu: yr agoraist deŷrnas nêf i bawb a gredant.

Ti sŷdd yn eistedd ar ddeheu law Duw: yngogoniant y Tâd.

Yr ŷm ni yn credu mae tydi a ddaw yn farnwr arnom.

Gan hynnŷ yr attolygwn i ti gynnorthwŷo dy weision: y rhai a brynaist a'th werthfawr waed.

Pâr iddŷnt gael eu cyfrif gyd a'th Sainct: yn y gogoniant tragywŷddol.

Arglwŷdd cadw dy bobl: a bendithia dy etifeddiaeth.

Llyfodraetha hwŷ: a derchafa hwŷ yn dragywŷdd.

Beunŷdd ac fŷth a clodforwn dydi.

Ac anrhydeddwn dy Enw: bŷth ac yn oes oesoedd.

Teilynga Arglwŷdd: ein cadw y dŷdd hwn yn ddi bechod.

Arglwŷdd trugarhâ wrthŷm: trugarhâ wrthŷm.

Arglwŷdd dy drugaredd a ddêl arnom: megis yr ŷm yn ymddiried ynot.

Arglwŷdd ynot [illegible] ymddiriedais: na'm gwradwŷdder yn dragywŷdd.

Neu'r caniad hwn: [illegible] &c.

CHwy-chwi holl weith[illegible] Arglwŷdd, bendithiwch [illegible] molwch ef, a mawrhewch ef [illegible] wŷdd,

Chwychwi Angylion yr Arglwŷdd, bendithiwch yr Arglwŷdd, molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi nefoedd, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi y dyfroedd sŷdd uwchben y ffurfafen, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi nerthoedd yr Arglwŷdd, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi haul a lleuad, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi sêr y nefoedd, bendithiwch yr Arglwŷdd molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi gafodau, a gwlîth, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi wŷntoedd Duw, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi dân, a gwrês, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi aiaf, a hâf, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi wlithoedd, a rhewoedd, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi rew, ac oerfel, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi iâ, ac eira, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi nosau, a dyddiau, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi oleuni, a thywŷllwch, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷd.

Chwychwi fellt, a chymylau, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywdŷdd.

Bendithied ŷ ddaiar yr Arglwŷdd: moled ef, a mawrhaed ef yn dragywŷdd.

Chwychwi fynyddoedd, a brynniau, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi hôll wŷrddion bethau ar y ddaiar, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi ffynhonnau, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi foroedd, a llifeiraint, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi fôr-filod, ac oll ag sŷdd yn ymsymmud yn y dyfroedd, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi hôll adar yr awŷr, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi ôll anifeiliaid, ac yscrublaid, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi blant dynnion, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Bendithied Israel yr Arglwŷdd: moled ef, a mawrhaed ef yn dragywŷdd.

Chwychwi offeiriaid yr Arglwŷdd, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi wasanaeth-wŷr yr Arglwŷdd, bendithiwch yr Arlgwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi ysprydion, ac eneidiau y cyfiawn, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi y rhai sanctaidd, a gostyngedig o galon, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Chwychwi Ananias, Azarias, a Misael, bendithiwch yr Arglwŷdd: molwch ef, a mawrhewch ef yn dragywŷdd.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Ysprŷd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awr hon, ac a bŷdd yn wastad, yn oes oesoedd. Amen.

* *Yna a darllennir yn yr un môdd yr ail llith, gwedi ei chymmerŷd allan o'r Testament newŷdd.*

*newydd. Ac wedi hynny yr Hymn sy'n canlyn, oddieithr pan ddigwydd ei ddarllen ymhennod y dydd neu yn yr Efengyl ar ddydd St. Ioan Fedyddiwr.*

*Benedictus.* *Luc* 1. 68.

BEndigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel: canys efe a ymwelodd, ac a brynnodd ei bobl.

Ac a dderchafodd iechydwriaeth nerthol i ni: yn nhy Ddafydd ei wasanaeth-wr.

Megis a dywedodd trwy enau ei sanctaidd brophwydi: y rhai oedd o ddechreuad y byd.

Yr anfonai efe i ni ymwared rhag ein gelynnion; ac oddiwrth ddwylo pawb o'n caseion.

A gwnai efe drugaredd a'n tadau; ac a cofiai ei sanctaidd gyfammod:

A'r llw yr hwn a dyngodd ef wrth ein Tad Abraham: sef bod iddo ganiadhau i ni, gwedi ein ymwared oddiwrth ddwylo ein gelynion, allu ei wasanaethu ef yn ddiofn.

Mewn sancteiddrwydd a chyfiawnder ger ei fron ef holl ddyddiau ein bywyd.

A thitheu fab a elwir yn brophwyd i'r Goruchaf; canys ti a ei o flaen wyneb yr Arglwydd, i barodtoi ei ffyrdd ef,

Ac i roddi gwybodaeth iechydwriaeth iw bobl ef; gan faddeu eu pechodau,

O herwydd tiriondeb trugaredd ein Duw; trwy yr hon yr ymwelodd a ni godiad haul o'r uchelder:

I roddi llewyrch i'r rhai sy yn eistedd mewn tywyllwch a chyscod angeu, ac i gyfeirio ein traed i ffordd tangneddyf.

Gogoniant i'r Tad, ac i'r Mab, ac i'r Yspryd glan.

Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awr hon, ac a bydd yn wastad, yn oes oesoedd. Amen.

Neu y Psalm hon, *Jubilate Deo,*

*Psalm* 100.

CEnwch yn llafar i'r Arglwydd, yr holl ddaiar: gwasanaethwch yr Arglwydd mewn llawenydd, deuwch yn ei wydd ef mewn gorfoledd.

Gwybyddwch mai yr Arglwydd sydd Dduw: efe a'n gwnaeth, ac nid ni ein hunain: ei bobl ef ydym, a defaid ei borfa.

Ewch i mewn iw byrth ef a diolch, ac iw lysoedd a moliant, cenwch, diolchwch iddo, a chlodforwch ei enw.

Canys daionus yw yr Arglwydd, a'i drugaredd sydd yn dragywydd, a'i wirionedd a beru o genhedlaeth i genhedlaeth byth.

Gogoniant i'r Tad, ac i'r Mab, ac i'r Yspryd glan.

Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awr hon, ac a bydd yn wastad, yn oes oesoedd. Amen.

¶ *Yna a cenir neu a dywedir Credo'r Apostolion, gan y gweinidog, a'r bobl yn eu sefyll. Oddieithr yn y dyddiau hynny yn unig ar y rhai yr appwyntiwyd Credo* S. Athanasius *iw ddarllain.*

CRedaf yn Nuw Tad, Holl gyfoethawg, Creawdr nef a daiar. Ac yn Iesu Grist ei un Mab ef, ein Harglwydd ni: yr hwn a gaed trwy yr Yspryd glan, a aned o Fair forwyn: a ddioddefodd dan Bontius Pilate, a groeshoelwyd, a fu farw ac a gladdwyd, a ddiscynnodd i uffern, y trydydd dydd cyfododd o farw; ac escynnodd i'r nefoedd, ac i mae yn eistedd ar ddeheu-law Dduw Tad holl gyfoethawg, Oddiyno a daw i farnu byw a meirw. Credaf yn yr Yspryd glan, yr Eglwys lan gatholic, Cymmun y saint, Maddeuant pechodau, Cyfodiad y cnawd, a'r bywyd tragywyddol. Amen.

¶ *Ac yn ol hynny, y gweddiau sy yn canlyn, a phawb yn gostwng yn ddefosionol ar eu gliniau, y gweinidog yn gyntaf a lefara a llef uchel*

Yr Arglwydd a fo gyda chwi.

*Atteb.* A chyda'th Yspryd ditheu.

*Y Gweinidog.* Gweddiwn.

Arglwydd trugarha wrthym.

*Crist trugarha wrthym.*

Arglwydd trugarha wrthym.

¶ *Yna y Gweinidog, a'r yscolheigion, a'r bobl, a ddywedant weddi yr Arglwydd a lleferydd uchel.*

EIn Tad yr hwn wyt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Deled dy deyrnas. Bydded dy ewyllys ar y ddaiar, megis a mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddiw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel

a maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth; Eithr gwared ni rhag drwg: Amen.

* *Yna y Gweinidog yn ei sefyll a ddywaid.*
Arglwŷdd dangos dy drugaredd arnom.
*Atteb.* A chaniadha i ni dy iechŷdwriaeth.
*Offeiriad.* Arglwŷdd cadw y Brenin.
*Atteb.* A gwrando ni yn drugarog pan alwom arnat.
*Offeiriad.* Gwisg dy weinidogion ag iawnder.
*Atteb.* A gwna dy ddewisol bobl yn llawen.
*Offeiriad.* Arglwŷdd cadw dy bobl.
*Atteb.* A bendithia dy etifeddiaeth.
*Offeiriad.* Arglwŷdd dyro dangneddŷf yn ein dyddiau.
*Atteb.* Gan nad oes neb arall, a ymladd trosom, onid tydi Dduw yn unig.
*Offeiriad.* Duw glanhâ ein calonnau ynom.
*Atteb.* Ac na chymmer dy Yspryd glân oddiwrthŷm.

* *Yna a canlŷn tri Cholect; Y cyntaf o'r dŷdd, yr hwn a sŷdd yr un ag a appwyntir ar y cymmun. Yr ail, am dangneddŷf. Y trydŷdd, am râd i fŷw yn ddâ. Y ddau Golect ddiweddaf ni chyfenwidir bŷth, onid eu dywedŷd beunŷdd ar y Foreuol weddi, trwŷ'r holl flwŷddŷn, fel a canlŷn, a phawb ar eu gliniau,*

### Yr ail Colect am dangneddyf.

DUw, yr hwn ŵŷt awdwr tangneddŷf, a charwr cydtundeb, yr hwn o'th iawn adnabod, y mae ein buchedd dragywŷdd yn sefŷll arnom, a'th wasanaeth ŷw gwir fraint: Amddiffŷn nyni dy ostyngedig weision, rhag holl ruthrau ein gelynnion; fel a gallom trwŷ gwbl ymddiried yn dy amddiffŷn di, nac ofnom allu gwrthwŷnebwŷr: trwŷ nerth Iesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

### Y trydydd Colect am gael rhad.

O Arglwŷdd nefol Dâd, Holl-alluog, a thragywŷddol Dduw, yr hwn a'n cedwaist yn ddiangol hŷd ddechreu'r dŷdd heddiw, amddiffŷn nyni ynddo a'th gadarn allu, a chaniadha na syrthiom y dŷdd hwn mewn un pechod, ac nad elom mewn un rhŷw berŷgl, eithr bôd ein holl weithredoedd wedi eu trefnu, a'u llywiaw wrth dy lywodraeth, i wneuthur yn wastad y peth sŷdd gyfiawn yn dy olwg di, trwŷ Iesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

* *Mewn corau, a mannau llê'r arferont ganu, ymma a canlŷn yr Anthem.*

* *Yna y pum* gweddi sŷ'n canlŷn a ddarllenir ymma, oddieithr pan ddarllenir y Letani; Ac yna y ddwŷ olaf yn unig a ddarllenir fel a maent gwedi eu cyfleu yno.

### Gweddi tros fawrhydi y Brenin.

O Arglwŷdd ein Tâd nefol, goruchel, a galluog, Brenin y Brenhinoedd, Arglwŷdd yr Arglwŷddi, unig lywiawdr y Tywŷsogion, yr hwn ŵŷt o'th eisteddle yn edrŷch ar holl drigolion y ddaiar, ni a attolygwn, ac a erfyniwn i ti, edrŷch o honot yn ddarbodus ar ein grasusaf ddaionus Arglwŷdd Frenin *William*, ac fellŷ ei gyflawni êf o râd dy sanctaidd Yspryd, fel y bô iddo yn wastadol bwŷso at dy feddwl, a rhodio yn dy ffŷrdd, cynnyscaedda ef yn helaeth a donniau nefol, caniadha iddo mewn llwŷddiant ac iechŷd hir hoedl, nertha ef, mòdd y gallo orescŷn, a gorchfygu ei hôll elynnion, ac o'r diwedd yn ol y fuchedd hon, bôd iddo fwŷnhau llawenŷdd a dedwŷddŷd tragywŷddol, trwŷ Iesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

### Gweddi tros y Frenhinawl Deulu.

HOll-alluog Dduw, ffynnon pôb daioni, yr ydŷm ni yn ostyngedig yn attolwg i ti fendithio Catherine y Frenhines weddw, y Dwŷsoges Ann o Ddenmarc, a'r hôll Frenhinol Deulu. Cynnyscaedda hwŷ a'th Yspryd glân, cyfoethoga hwŷ a'th nefol râs, llwŷdda hwŷ a phôb dedwŷddwch, a dŵg hwŷ i'th dragywŷddol deyrnas, trwŷ Iesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

### Gweddi tros yr Eglwys-wyr, a'r bobl.

HOll-gyfoethog a thragywŷddol Dduw yr hwn ŵŷt yn unig yn gwneuthur rhyfeddodau, danfon i lawr ar ein Escobion, a Churadiaid, a'r hôll gynnulleidfaoedd a orchymynnwŷd tan eu gofal hwŷnt, iachol Yspryd dy râd, ac fel a gallont wir ryngu bôdd i ti, tywallt arnŷnt ddyfal wlith dy

fendith

sendith: Caniadha hyn Arglwydd, er anrhydedd ein dadleuwr, a'n cyfryngwr Iesu Grist. Amen.

### Gweddi o waith S. Chrysostom.

HOll-alluog Dduw, yr hwn a roddaist i ni râd y prŷd hwn, drwŷ gysundeb a chŷd-gyfarch i weddio arnat, ac wŷt yn addo pan ymgynnullo dau neu drî yn dy Enw, fod i ti ganiadhau eu gofynnion: cyflawna yr awr hon, O Arglwŷdd, ddymuniad a deisyfiad dy weision, fel a bô mwŷaf buddiol iddŷnt, gan ganiadhau i ni yn y Bŷd hwn wŷbodaeth am dy wirionedd, ac yn y Bŷd a ddaw, fywŷd tragywŷddol. Amen.

2 Cor. 13. 14.

RHâd ein Harglwŷdd Iesu Grist, a serch Duw, a chymdeithas yr Yspryd glân, a fyddo gyda ni oll bŷth bythoedd. Amen.

* Ymma a diwedd trefn y Foreuol weddi trwŷ'r flwŷddŷn.

## Y DREFN AM WEDDI BRYD-NHAWNOL,

### bob dydd trwy'r flwyddyn.

* Ar ddechreu y weddi Brŷdnhawnol, darllenned y Gweinidog a llêf uchel rŷw un neu ychwaneg o'r synhwŷrau hŷn o'r Scrythŷr lân, y rhai sŷdd yn canlŷn. Ac yno dyweded yr hŷn sŷdd yscrifennedig ar ôl y Sentensiau.

PAn ddychwelo yr annuwiol oddiwrth ei ddrygioni yr hwn a wnaeth, a gwneuthur barn a chyfiawnder, hwnnw a geidw yn fŷw ei Enaid.

Yr wŷf yn cydnabod fy nghamweddau: a'm pechod sŷdd yn wastad ger fy mron.

Cuddia dy wŷneb oddiwrth fy mhechodau: a delea fy holl anwireddau.

Aberthau Duw ydŷnt yspryd drylliedig: calon ddrylliog gystuddiedig, O Duw ni ddirmygi.

Rhwŷgwch eich calonnau ac nid eich dillad; ac ymchwelwch at yr Arglwŷdd eich Duw: O herwŷdd grasiawn a thrugarog ŷw efe, hwŷrfrydig i ddigofaint, a mawr ei drugaredd, ac edifeiriol am ddrwg.

Gan yr Arglwŷdd ein Duw a mae trugareddau a maddeuant, er gwrthryfelu o honom iw erbŷn; Ni wrandawsom ychwaith ar lais yr Arglwŷdd ein Duw, i rodio yn ei gyfreithiau ef, y rhai a roddodd efe o'n blaen ni.

Cospa fi, Arglwŷdd etto mewn barn, nid yn dy lid, rhag it fy ngwneuthur yn ddiddim.

Edifarhewch, canys nessaodd Teyrnas nefoedd.

Mi godaf ac a âf at fy nhâd, ac a ddywedaf wrtho, Fy Nhâd, pechais yn erbŷn y Nef ac o'th flaen ditheu; ac mwŷach nid ydwŷf deilwng i'm galw yn Fâb i ti.

Na ddôs i'r farn a'th wâs, o herwŷdd ni chyfiawnhêir nêb bŷw yn dy olwg di.

Os dywedwn, nad oes ynom bechod, yr ydŷm yn ein twŷllo ein hunain, a'r gwirionedd nid ŷw ynom. Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon ŷw efe, fel a maddeuo i ni ein pechodau, ac i'n glanhao oddiwrth bôb anghyfiawnder.

FY anwŷl gariadus frodŷr, a mae yr Scrythŷr lân yn ein cynhyrfu mewn amrŷw fannau, i gydnabod, ac i gyffessu ein haml bechodau, a'n hanwiredd, ac na wnelem na'u cuddio na'u celu yngŵŷdd yr Holl-alluog Dduw ein Tâd nefol, eithr eu cyffessu a gostyngedig, isel, edifarus ac ufudd galon, er mwŷn caffael o honom faddeuant amdanŷnt, trwŷ ei anfeidrol ddaloni a'i drugaredd ef. A chŷd ddylem ni bôb amser addef yn ostyngedig ein pechodau ger bron Duw; Etto ni a ddylem yn bennaf wneuthur hynnŷ pan ymgynhullom i gŷd-gyfarfod, i dalu diolch am yr aml ddaioni a dderbyniasom ar ei law ef, i ddatcan ei haeddedigcaf foliant, i wrando ei sancteiddiaf air êf, ac i erchi y cyfryw bethau ac a fyddo cymmwŷs ac angenrheidiol, yn gystal ar lês y corph a'r enaid.

O herwŷdd paham myfi a erfyniaf, ac a attolygaf i chwi, cynnifer ac sŷdd ymma yn bressennol, gŷd-tynnu a myfi a chalon bur, ac a lleferŷdd gostyngedig, hŷd yngorseddfa y nefol râd, gan ddywedŷd ar fy ôl i.

* *Cyffês gyffredin iw dywêdŷd gan yr hôll gynnulleidfa ar ôl y Gwêinidog, gan ostwng ar eu glinniau ôll.*

HOll alluog Dduw, a thrugarogcaf Dâd, Ni a aethom ar gyfeiliorn allan o'th ffŷrdd di, fel defaid ar gyfyrgoll; Nyni a ddilŷnasom ormod ar amcanion, a chwantau ein calonnau ein hunain: Nyni a wnaethom yn erbŷn dy sancteiddiol gyfreithiau: Nyni a adawsom heb wneuthud y pethau a ddylesem eu gwneuthur, ac a wnaethom y pethau ni ddylesem eu gwneuthur; Ac nid oes iechŷd ynom, eithr tydi O Arglwŷdd cymmer drugaredd arnom ddrŵg weithredwŷr truain, Arbed ti hwŷnt, O Dduw, y rhai sŷ'n cyffessu eu beiau; Adnewŷdda di y sawl sŷdd yn edifarus: Yn ôl dy addewidion a yspyssŵyd i ddŷn, yng-Hyrîst Iesu ein Harglwŷdd. A chaniadta drugarogcaf Dâd er ei swŷn ef, fŷw o honom rhag llaw mewn duwiol, union, a sobr fuchedd, i ogoniant dy sancteiddiol Enw: Amen.

* *Y gollyngdod neu faddeuant pechodau, iw ddwedyd gan y gweinidog yn unig yn ei sefŷll, a'r bobl etto ar eu gliniau.*

YR Holl-Alluog Dduw, Tâd ein Harglwŷdd Iesu Grist, yr hwn ni ddeisŷf farwolaeth pechadur, eithr yn hyttrach ymchwelŷd o honaw oddiwrth ei anwiredd a bŷw: Ac a roddes allu a gorchymŷn iw weinidogion, i gyhoeddi, ac i fynegu iw bobl sŷdd yn edifarus, ollyngdod a maddeuant am eu pechodau: Efe a bardyna, ac a ollwng y rhai oll sŷ wîr edifeiriol, ac yn ddiffuant yn credu iw sancteiddiol Efengŷl ef. O herwŷdd paham attolygwn ni iddo ganiadtau i ni wîr edifeirwch, a'i Yspryd glân, fel a byddo bodlon ganddo y pethau yr ydŷm y prŷd hwn yn eu gwneuthur, a bôd y rhan arall o'n bywŷd rhag llaw yn bûr, ac yn sanctaiddiol, fel a delom o'r diwedd iw lawenŷdd tragywŷddol, trwŷ Iesu Grist ein Harglwŷdd.

* *Attebed y bobl ymma, ac ar ddiwedd pob un o'r gweddiau eraill. Amen.*

* *Yna a gostwng y Gweinidog ar ei liniau, ac a ddywed weddi yr Arglwŷdd a llêf uchel, a'r bobl hefŷd ar eu gliniau, yn ei dywedŷd gydag ef, yn y fan ymma, ac ymhâ lê bynnag yr arferir hi yn y gwasanaeth.*

EIn Tâd yr hwn wŷt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Deled dy deŷrnas. Bydded dy ewŷllŷs ar y ddaiar, megis a mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddiw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel a maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth; Eithr gwared ni rhag drŵg: Canŷs eiddot ti ŷw'r Deŷrnas, a'r gallu, a'r gogoniant, yn oes oesoedd. Amen.

*Yna a dywaid ef yn yr un mŵdd.*

Arglwŷdd agor ein gwefusau,

*Atteb* A'n genau a fynega dy foliant.

*Offeiriad.* Duw bryssia i'n cynnorthwŷo.

*Atteb.* Arglwŷdd pryssura i'n cymmorth.

* *Yna a'r bobl yn eu sefŷll, yr Offeiriad a ddywed.*

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Ysprŷd glân.

*Atteb.* Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awrhon, ac a bŷdd yn wastad, yn oes oesoedd. Amen.

*Offeiriad.* Molwch yr Arglwŷdd.

*Atteb.* Moliannus fyddo Enw'r Arglwŷdd.

* *Yna a dywedir, neu a cenir y* Psalmau *mewn trefn, megis yr appwŷntiwŷd hwŷ. Yna llith o'r hên Destament, megis ac yr appwŷntiwŷd. Yn ôl hynnŷ* Magnificat, *neu gân y Forwŷn fendigedig, yn Gymraeg, megis a canlŷn.*

*Magnificat. Luc 1. 46.*

FY enaid a fawrha yr Arglwŷd: a'm hysprŷd a lawenychodd yn Nuw fy iachawdr.

Canŷs efe a edrychodd ar ostyngeiddrwŷdd ei wasanaethyddes.

Oblegid wele o hŷn allan, yr hôll genhedlaethau a'm geilw yn wŷnfŷdedig.

Canŷs yr hwn sŷdd Alluog a wnaeth i mi fawredd: a sanctaidd ŷw ei enw ef.

A'i drugaredd sŷdd yn oes oesoedd, ar y rhai a'i hofnant ef.

Efe a ddangosodd nerth a'i fraich: efe a wascarodd y rhai beilchion ym mwriadau eu calonnau.

Efe a dynnodd i lawr y cedyrn o'u heisteiddfau, ac a dderchafodd y rhai isel-rådd.

Efe a lanwodd y rhai newynog a phethau dâ: ac a anfonodd ymmaith y rhai goludog mewn eisieu.

Efe a gynnorthwyodd ei wâs Israel, gan gofio ei drugaredd, (fel a dywedodd wrth ein tadau, Abraham a'i hâd) yn dragywydd.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awr hon, ac a bydd yn wastad, yn oes oesoedd.

* *Neu ynteu y Psalm hon; Oddieithr ar y namynunfed dydd ar hugain o'r mis, pan ddarllennir hi ar drefn gyffredin y Psalmau.*

*Psalm.* 98.

CEnwch i'r Arglwydd ganiad newydd, canys efe a wnaeth bethau rhyfedd: a'i ddeheulaw, ac a'i fraich sanctaidd a parodd iddo ei hun iechydwriaeth.

Yspyssodd yr Arglwydd ei iechydwriaeth: a datcuddiodd ei gyfiawnder yngolwg y cenhedloedd.

Cofiodd ei drugaredd, a'i wirionedd i dy Israel: a hôll derfynau y ddaiar a welsant iechydwriaeth ein Duw ni.

Cenwch yn llafar i'r Arglwydd, yr hôll ddaiar: llefwch, ac ymlawenhewch, a chenwch.

Cenwch i'r Arglwydd gyda'r delyn: sef gyda'r delyn, a llêf canmoliaeth.

Cenwch yn llafar o flaen yr Arglwydd y Brenin: a'r yr udcyrn, a sain trwmpet.

Rhued y môr, ac sydd ynddo, y Byd, a'r rhai a drigant ynddo.

Cured y llifeiriant eu dwylo: a chydganed y mynyddoedd o flaen yr Arglwydd, canys efe a ddaeth i farnu y ddaiar.

Efe a farna'r Byd mewn cyfiawnder: a'r bobloedd mewn uniondeb.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awr hon, ac a bydd yn wastad, yn oes oesoedd. Amen.

* *Yna llith o'r Testament newydd megis yr appwyntir: Ac yn ôl hynny* Nunc dimittis, *neu gân* Simeon, *yn Gymraeg, fel a canlyn.*

*Luc* 2. 29.

YR awrhon Arglwydd a gollyngi dy wâs mewn tangneddyf yn ôl dy air.

Canys fy llygaid a welsant dy iechydwriaeth.

Yr hon a barodtôaist ger bron wyneb yr hôll bobl.

I fôd yn oleuni i oleuo y Cenhedloedd, ac yn ogoniant i'th bobl Israel.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awr hon, ac a bydd yn wastad, yn oes oesoedd. Amen.

* *Neu y Psalm hon oddieithr ar y deuddegfed dydd o'r Mis.*

*Psalm* 67.

DUw a drugarhâo wrthym, ac a'n bendithio, a thywynned llewyrch ei wyneb arnom, a thrugarhaed wrthym.

Fel yr adwaener dy ffordd ar y ddaiar, a'th iechydwriaeth ymhlith yr hôll genhedloedd.

Molianned y bobl di O Dduw; molianned yr hôll bobl dydi.

Llawenhaed y cenhedloedd a byddant hyfryd, canys tydi a ferni y bobl yn uniawn, ac a lywodraethi y Cenhedloedd ar y ddaiar.

Molianned y bobl di O Dduw; molianned yr hôll bobl dydi.

Yna y ddaiar a rydd ei ffrwyth: a Duw, sef ein Duw ni a'n bendithia.

Duw a'n bendithia: a hôll derfynau y ddaiar a'i hofnant ef.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awr hon, ac a bydd yn wastad, yn oes oesoedd. Amen.

* *Yna a cenir neu a dywedir Credo'r Apostolion, gan y Gweinidog, a'r bobl yn eu sefyll.*

CRedaf yn Nuw Tâd, Holl gyfoethog, Creawdr nêf a daiar. Ac yn Iesu Grist

ei un Mâb ef, ein Harglwŷdd ni: yr hwn a gaed trwŷ yr Yspryd glân, a aned o Fair forwŷn: a ddioddefodd dan Bontius Pilate, a groeshoelwŷd, a fu farw ac a gladdwŷd, a ddiscynnodd i uffern, y trydŷdd dŷdd cyfododd o farw; ac escynnodd i'r nefoedd, ac a mae yn eistedd ar ddeheu-law Duw Tâd holl-gyfoethog, Oddiyno a daw ef i farnu bŷw a meirw. Credaf yn yr Yspryd glân, yr Eglwŷs lân gatholic, Cymmun y sainct, Maddeuant pechodau, Cyfodiad y cnawd, a'r bywŷd tragywŷddol. Amen.

* *Ac yn ôl hynnŷ, y gweddi au sŷ'n canlŷn a phawb yn gostwng yn ddefosionol ar eu gliniau, y Gweinidog yn gyntaf a lefara a llêf uchel.*

Yr Arglwŷdd a fo gyda chwi.

*Atteb.* A chyda'th Yspryd dithau.

*Y Gweinidog.* Gweddiwn.

Arglwŷdd trugarha wrthŷm.

*Crist trugarhâ wrthŷm.*

Arglwŷdd trugarha wrthŷm.

* *Yna y Gweinidog, a'r yscolheigion, a'r bobl, a ddywedant weddi yr Arglwŷdd a llefer ŷdd uchel.*

Ein Tâd yr hwn wŷt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Deled dy deyrnas. Bydded dy ewŷllŷs ar y ddaiar, megis a mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddiw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel a maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth; Eithr gwared ni rhag drwg: Amen.

* *Yna y Gweinidog yn ei sefŷll a ddywaid.*

Arglwŷdd dangos dy drugaredd arnom.

*Atteb.* A chaniadha i ni dy iechŷdwriaeth.

*Offeiriad.* Arglwŷdd cadw y Brenin.

*Atteb.* A gwrando ni yn drugarog pan alwom arnat.

*Offeiriad.* Gwisg dy weinidogion ag iawnder.

*Atteb.* A gwna dy ddewisol bobl yn llawen.

*Offeiriad.* Arglwŷdd cadw dy bobl.

*Atteb.* A bendithia dy etifeddiaeth.

*Offeiriad.* Arglwŷdd dyro dangnueddŷf yn ein dyddiau.

*Atteb.* Gan nad oes neb arall a ymladd trosom, onid tydi Dduw yn unig.

*Offeiriad.* Duw glanhâ ein calonnau ynom.

*Atteb.* Ac na chymmer dy Yspryd glân oddiwrthŷm.

* *Yna a canlŷn tri Cholect; Y cyntaf o'r dŷdd, Yr ail am dangnedd ŷf. Y trydŷdd, am gynhorthwŷ yn erbŷn pôb perŷgl, fel a canlŷn ymma rhac llaw; Ar ddau Golect ddiweddaf a ddywedir bôb dŷdd ar brŷdnawnol weddi, heb gyfnewid.*

## Yr ail Colect ar y brydnawnol Weddi.

DUw oddiwrth ba un a daw pôb addunedd sanctaidd, pôb cyngor dâ, a phôb gweithred gyfiawn, dyro i'th wasanaethddynion yr unrhŷw dangnheddŷf a'r na ddichon y bŷd ei roddi; môdd a gallo ein calonnau ymroi i ufuddhau i'th orchymmŷnnion; a thrwŷ dy amddiffyniad i ni rhag ofn ein gelynnion, allu o honom dreulio ein hamser mewn heddwch a thangneddŷf, drwŷ haeddedigaethau Iesu Grist ein Iachawdr. Amen.

## Y trydedd Colect am gynnorthwy yn erbyn pop peryglau.

GOleua ein tywŷllwch, ni a attolygwn i ti O Arglwŷdd; a thrwŷ dy fawr drugaredd amddiffŷn nyni rhag pôb perŷgl ac enbŷdrwŷdd y nôs hon; er serch ar dy un Mâb ein Iachawdr Iesu Grist. Amen.

* *Mewn corau, a mannau llê'r arferent ganu ymma a can'ŷn yr Anthem.*

## Gweddi tros Fawrhydi y Brenin.

O Arglwŷdd ein Tâd nefol, goruchel, a galluog, Brenin y Brenhinoedd, Arglwŷdd yr Arglwŷddi, unig lywiawdr y Tywŷsogion, yr hwn wŷt o'th eisteddle yn edrŷch ar holl drigolion y ddaiar, ni a attolygwn, ac a erfyniwn i ti, edrŷch o honot yn ddarbodus ar ein grasusaf ddaionus Arglwŷdd Frenin *William*, ac fellŷ ei gyflawni ef o râd dy sanctaidd Yspryd, fel a bô iddo yn wastadol bwŷso at dy feddwl, a rhodio yn dy ffŷrdd, cynnyscaedda ef yn helaeth a donniau nefol, caniadha iddo mewn llwŷddiant ac iechŷd hir hoedl, nertha ef, môdd y gallo orescŷn

orescŷn, a gorchfygu ei hôll elynnion, ac o'r diwedd yn ol y fuchedd hon, bód iddo fwŷnhau llawenŷdd a dedwŷddŷd tragywŷddol, trwŷ Iesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

### Gweddi tros y Frenhinawl Deulu.

HOll-alluog Dduw, ffynnon pôb daioni, yr ydŷm ni yn ostyngedig yn attolwg i ti fendithio Catherine y Frenhines weddw, y Dwŷsoges Ann o Ddenmarc, a'r hôll Frenhinol Deulu. Cynnyscaedda hwŷ a'th Ysprŷd glân, cyfoethoga hwŷ a'th nefol râs, llwŷdda hwŷ a phôb dedwŷddwch, a dŵg hwŷ i'th dragywŷddol deŷrnas, trwŷ Iesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

### Gweddi tros yr Eglwys-wyr, a'r bobl.

HOll-gyfoethog a thragywŷddol Dduw yr hwn ŵŷt yn unig yn gwneuthur rhyfeddodau, danfon i lawr ar ein Escobion, a Churadiaid, a'r hôll gynnulleidfaoedd a orchymynnwŷd tan eu gofal hwŷnt, iachol Ysprŷd dy râd, ac fel a gallont wîr ryngu bôdd i ti, tywallt arnŷnt ddyfal wlîth dy fendith: Caniadha hŷn Arglwŷdd, er anrhydedd ein dadleuwr, a'n cyfryngwr Iesu Grist. Amen.

### Gweddi o waith S. Chrysostom.

HOll-alluog Dduw, yr hwn a roddaist i ni râd y prŷd hwn, drwŷ gyfundeb a chŷd-gyfarch i weddio arnat, ac ŵŷt yn addo pan ymgynnullo dau neu drî yn dy Enw, fód i ti ganiadhau eu gofynnion: cyflawna yr awr hon, O Arglwŷdd, ddymuniad a deisyfiad dy weision, fel a bô mwŷaf buddiol iddŷnt, gan ganiadhau i ni yn y Bŷd hwn wŷbodaeth am dy wirionedd, ac yn y Bŷd a ddaw, fywŷd tragywŷddol. Amen.

2 Cor. 13. 14.

RHâd ein Harglwŷdd Iesu Grist, a serch Duw, a chymdeithas yr Ysprŷd glân, a fyddo gyda ni oll bŷth bythoedd. Amen.

* *Ymma a diwedd trefn y brŷdnhawnol weddî trwŷ'r flwŷddŷn.*

---

* *Ar y Gwŷliau hŷn, sef dŷdd Natalic Crist, dŷdd gŵŷl Ystwŷll, dŷdd gwŷl Matthias; dŷdd Pasc, y Derchafael, y Sul-gwŷn, dŷdd gwŷl Joan Fedyddiwr, Sainct Jago, Sainct Bartholomeus, S. Matthêw, S. Simon a S. Jud, S. Andrews, a Sûl y Drindod, a cenir neu a dywêdir ar y wêddi Foreuol, yn llê crêdo'r Apostolion, y cyffês hon o'n ffŷdd Grîstionogawl, a elwir yn gyffredin, credo* S. Athanasius, *gan y Gweinidog, ar bobl yn sêfŷll.*

### Quicunque Vult.

PWŷ bynnag a fynno fód yn gadwedig, o flaen dim rhaid iddo gynnal y ffŷdd gatholic.

Yr hon ffŷdd, onis ceidw pôb dŷn yn gyfan, ac yn ddihalog: diammeu a collir ef yn dragywŷdd.

A'r ffŷdd gatholic ŷw hon, bôd i ni addoli un Duw yn Drindod, a'r Drindod yn undod.

Nid cymmysgu o honom y personau: na gwahanu y sylwedd.

Canŷs un person sŷdd i'r Tâd, arall i'r Mâb: ac arall i'r Ysprŷd glân.

Eithr Duwdod y Tâd, y Mâb, a'r Ysprŷd glân sŷdd unrhŷw: gogoniant gogyfuwch, mawrhydi gogŷd-tragywŷddol.

Unrhŷw ŷw'r Tâd, unrhŷw ŷw'r Mâb; unrhŷw ŷw'r Ysprŷd glân.

Digreêdig Dâd, digreêdig Fâb, a digreêdig Ysprŷd glân.

Anfesuredig Dâd, anfesuredig Fâb, ac anfesuredig Ysprŷd glân.

Tragywŷddol Dâd, tragywŷddol Fâb, a thragywŷddol Ysprŷd glân.

Ac etto nid ydŷnt dri tragywŷddolion; onid un tragywŷddol.

Ac fel nad ŷnt dri anfesuredigion, na thrî digreêdigion: onid un digreêdig, ac un anfesuredig.

Fellŷ yn gyffelŷb, Holl-alluog ŷw'r Tâd, Holl-alluog ŷw'r Mab, Holl-alluog ŷw'r Ysprŷd glân.

Ac etto nid ŷnt dri Holl-alluogion: onid un Holl-alluog.

Fellŷ y Tâd sŷ Dduw, y Mab sŷ Dduw a'r Ysprŷd glân sŷ Dduw.

Ac etto nid ŷnt dri Duwiau: onid un Duw.

Fellŷ y Tâd sŷdd Arglwŷdd, y Mâb sŷdd Arglwŷdd; a'r Ysprŷd glân sŷdd Arglwŷdd.

Ac etto nid ŷnt dri Arglwŷddi: onid un

un Arglwŷdd.

Canŷs fel i'n cymhellir trwŷ'r gristionogaidd wirionedd: i gyfadde fôd pôb person o honaw ei hun yn Dduw, ac yn Arglwŷdd;

Fellŷ i'n gwaherddir trwŷ'r Gatholic grefŷdd: i ddywedŷd, fôd tri Duwiau, neu dri Arglwŷddi.

Y Tâd ni wnaethwŷd gan néb: ni's crewŷd, ac ni's cenhedlwŷd.

Y Mâb sŷdd o'r Tâd yn unig: heb ei wneuthur, na'i greû, eithr wedi ei genhedlu.

Yr Yspryd glân sŷdd o'r Tâd, ac o'r Mâb: heb ei wneuthur, na'i greû, na'i genhedlu, ond yn deilliaw.

Wrth hynnŷ, un Tâd sŷdd, nid tri Thâd, un Mâb, nid tri Mâb; un Yspryd glân, nid tri o Ysprydion glân.

Ac yn y Drindod hon, nid oes un gŷnt, neu gwedi ei gilŷdd: nid oes un mwŷ na llai na'u gilŷdd.

Ond yr hôll dri phersonau ydŷnt ogŷd. tragywŷddol; a gogyfuwch.

Ac fellŷ ym mhôb péth, fel a dywedwŷd uchod: yr undod yn y Drindod, a'r Drindod yn yr undod sŷdd iw haddoli.

Pwŷ bynnag gan hynnŷ a fynno fôd yn gadwedig synnied fellŷ o'r Drindod.

I mae hefŷd yn angenrhaid (er mwŷn tragywŷddol iechŷdwriaeth) gredu o ddŷn yn ffyddlawn am gnawdoliaeth ein Harglwŷdd Iesu Grîst.

Canŷs yr iawn ffŷdd ŷw, credu, a chyffessu o honom: fôd ein Harglwŷdd ni, Iesu Grîst Fâb Duw, yn Dduw, ac yn ddŷn.

Duw o sylwedd y Tâd, wedi ei genhedlu cŷn yr oesoedd: a dŷn o sylwedd ei fam, wedi ei eni yn y bŷd.

Perffaith Dduw, a pherffaith ddŷn, o enaid rhesymmol, a dynol gnawd, yn hanfod.

Gogyfuwch a'r Tâd, oblegid ei Dduwdod: a llai na'r Tâd, oblegid ei ddyndod.

Yr hwn, er ei fôd yn Dduw, ac yn ddŷn: er hynnŷ, nid ŷw efe ddau, onid un Crist.

Un, nid trwŷ ymchwelŷd y Duwdod yn gnawd: onid gan gymmerŷd y dyndawd at Dduw.

Un igŷd ôll, nid gan gymmyscu y sylwedd: onid trwŷ undod person.

Canŷs fel a mae yr enaid rhesymmol a'r cnawd yn un dŷn: fellŷ Duw a dŷn sŷdd un Crist.

Yr hwn a ddioddefodd am ein iechŷdwriaeth: a ddiscynnodd i uffern, a gyfododd y trydŷdd dŷdd o farw.

Escynnodd i'r nefoedd, ac i mae yn eistedd ar ddeheu-law'r Tâd, Duw Holl-alluog: oddiyno a daw i farnu bŷw a meirw.

Ac ar ei ddyfodiad, a cyfŷd pôb dŷn yn eu cŷrph eu hunain: ac a roddant gyfrif am eu gweithredoedd eu hunain.

A'r rhai a wnaethant ddâ, a ânt i'r bywŷd tragywŷddol: a'r rhai a wnaethant ddrwg, i'r tân tragywŷddol.

Hon ŷw'r ffŷdd gatholic: yr hon pwŷ bynnag ni's credo yn ffyddlon, ni all efe fôd yn gadwedig.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awr hon, ac a bŷdd yn wastad, yn oes oesoedd. Amen.

---

* *Ymma a canlŷn y Letani, neu Ymbiliau cyffredinol iw canu, neu iw dywedŷd ar ôl y Foreuol Weddi, ar y Suliau, y Mercherau, a'r Gwenerau. ac ar amserau eraill, pan orchmynnir gan yr Ordinari.*

Duw Tâd o'r Nêf: trugarhâ wrthŷm wîr bechaduriaid.

*Duw Tâd o'r Nêf: trugarhâ wrthŷm wîr bechaduriaid.*

Duw Fâb, pryn-wr y Bŷd: trugarhâ wrthŷm wîr bechaduriaid.

*Duw Fâb pryn-wr y bŷd: trugarhâ wrthŷm wîr bechaduriaid*

Duw Yspryd glân, yn deilliaw oddiwrth y Tâd a'r Mâb; trugarhâ wrthŷm wîr bechaduriaid.

*Duw Yspryd glân, yn deilliaw oddiwrth y Tâd a'r Mâb; trugarhâ wrthŷm wîr bechaduriaid.*

Y gogoned lân fendigaid Drindod, tri pherson, ac un Duw: trugarha wrthŷm wîr bechaduriaid.

*Y gogoned lân fendigaid Drindod, tri pherson, ac un Duw: trugarhâ wrthŷm wîr bechaduriaid.*

Na

Na chofia Arglwŷdd ein anwiredd, nac anwiredd ein rhieni, ac na ddyro ddial am ein pechodau: arbed nyni Arglwŷdd daionus, arbed dy bobl a brynaist a'th werthfawr waed, ac na lidia wrthŷm yn dragywŷdd.

*Arbed ni Arglwŷdd daionus.*

Oddiwrth bôb drŵg, ac anffawd, oddiwrth bechod; oddiwrth ystrŷw a chŷrch y cythrael, oddiwrth dy lîd, ac oddiwrth farnedigaeth dragywŷddol.

*Gwared ni* Arglwŷdd *daionus.*

Oddiwrth bôb dallineb calon, oddiwrth falchder, a gwâg ogoniant, a ffug sancteiddrwŷdd, oddiwrth genfigen, casedd, a bwriad drŵg, a phôb anghariadoldeb.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Oddiwrth anniweirdeb, a phôb pechod marwol, ac oddiwrth holl dwŷll y Bŷd, y cnawd, a'r cythrael.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Oddiwrth fellt a thymhestl, oddiwrth blâ, haint y nodeu, a newŷn, oddiwrth ryfel ac ymladd, ac oddiwrth angeu disyfed.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Oddiwrth bôb terfŷsc, a dirgel frâd, a gwrthryfel, oddiwrth bôb ffals ddysceidiaeth, ac opiniwn annuwiol a schism, oddiwrth galedrwŷdd calon, a dirmŷg ar dy air a'th orchymmŷn.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Trwŷ ddirgelwch dy gnawdoliaeth, trwŷ dy sanctaidd anedigaeth, a'th enwaediad, trwŷ dy fedŷdd, dy ymprŷd a'th brofedigaeth.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Trwŷ dy ddirfawr ing, a'th chwŷs gwaedlŷd, drwŷ dy grôg a'th ddioddefaint, drwŷ dy werthfawr angeu, a'th gladdedigaeth, drwŷ dy anrhydeddus gyfodiad, a'th escynnaid, a thrwŷ ddyfodiad yr Yspryd glân.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Yn holl amser ein trallod, yn holl amser ein gwŷnfŷd, yn awr angeu, ac yn nŷdd y farn.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Nyni bechaduriaid a attolygwn i ti ein gwrando, O Arglwŷdd Dduw, a theilyngu o honot gadw, rheoli, a llywodraethu dy lân Eglwŷs gatholic yn y ffordd union.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot gadw a nerthu, i'th wîr addoli mewn iawnder, a glendid buchedd, dy wasanaeth-ŵr WILIAM ein grasusaf Frenin, a'n pen-llywŷdd.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot lywodraethu ei galon yn dy ffŷdd, ofn, a chariad, ac iddo ymddiried bŷth ynot, ac ymgais yn wastad a'th anrhydedd, a'th ogoniant.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot ei amddiffŷn a'i gadw, gan roddi iddo fuddugoliaeth ar ei holl elynion.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot fendithio a chadw *Catherin* y Frenhines weddw, y Dywŷsoges *Ann* o *Ddenmarc*, a'r holl Frenhinawl deulu.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot lewyrchu yr holl Escobion, Offeiriaid a Diaconiaid, ag iawn wŷbodaeth a deall dy air: ac iddŷnt hwŷ trwŷ eu pregethiad a'u buchedd, ei fynegu a'i ddangos yn ddyladwŷ.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot gynnysgaeddu Arglwŷddi'r Cyngor, a'r holl fonedd, a grâs, doethineb, a deall.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot fendithio a chadw y pen swŷddogion, gan roddi iddŷnt râs i wneuthur cyfiawnder, ac i faentumio'r gwîr.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot fendithio a chadw dy holl bobl.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot roddi i bob cenhedlaeth, undeb, tangneddŷf a chŷd-gordio.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot roddi i ni galon i'th garu, ac i'th ofni, ac i fŷw yn ddiesceulus yn ôl dy orchymynnion.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu

Teilyngu o honot roddi i'th bobl ychwaneg o râd, i wrando yn ufudd dy air, ac iw dderbŷn o bur ewŷllŷs, ac i gynhyrchu ffrwŷth yr Yspryd.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot ddwŷn i'r ffordd wir, bawb ar a aeth ar gyfeiliorn, ac a dwŷllwŷd.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot nerthu y rhai sŷ yn sefŷll, a chysuro, a chynnorthwŷo y rhai sŷ a gwan galon, a chyfodi y sawl a syrthiant, ac o'r diwedd curo i lawr Satan tan ein traed.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot gymorth, helpu, a diddanu pawb a'r sŷdd mewn perŷgl, angen a helbul.

*Nyni a attolygwn i ti eîn gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot gadw pawb a'r sŷdd yn ymdaith ar fôr a thir, pôb gwraig wrth escor plant, pôb clwŷfus, a rhai bychain, a thosturio wrth bawb a fyddo mewn caethiwed a charchar.

*Nyni a attolygwn i ti eîn gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot amddiffŷn ac ymgleddu y plant amddifaid, a'r gwragedd gweddwon, a phawb sŷdd yn unig, ac yn goddef pwŷs plaid orthrech.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot drugarhau wrth bôb dŷn.

*Nyni a attolygwn i tî ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot faddeu i'n gelynnion, erlidwŷr, ac enllibwŷr, a throi eu calonnau.

*Nyni a attolygwn i ti eîn gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot roddi a chadw er ein llês, amserol ffrwŷthau y ddaiar, môdd a caffom mewn amser dyledus eu mwŷnhau.

*Nynî a attolygwn i tî ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot roddi i ni wir edifeirwch, a maddeu i ni ein holl bechodau, ein esceulustra, a'n hanwŷbod, a'n cynhyscaeddu a rhâd dy Yspryd glân, i wellhau ein buchedd yn ol dy air sanctaidd.

*Nynî a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Mâb Duw: attolygwn i ti ein gwrando.

*Mâb Duw: attolygwn i ti eîn gwrando.*

Oen Duw, yr hwn ŵyt yn dileu pechodau'r bŷd.

*Caniadhâ i ni dy dangneddŷf.*

Oen Duw, yr hwn ŵyt yn dileu pechodau'r bŷd.

*Trugarhâ wrthŷm.*

Christ clŷw nyni.

*Chrîst clŷw nyni.*

Arglwŷdd trugarha wrthŷm.

*Arglwŷdd trugarhâ wrthŷm.*

Crist trugarha wrthŷm.

*Crîst trugarhâ wrthŷm.*

Arglwŷdd trugarha wrthŷm.

*Arglwŷdd trugarhâ wrthŷm.*

* *Yna a dywaid yr Offeiriad, a'r bobl gydag ef weddi'r Arglwŷdd.*

Ein Tâd yr hwn wŷt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Deled dy deŷrnas. Bydded dy ewŷllŷs ar y ddaiar, megis a mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddiw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel a maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth; Eithr gwared ni rhag drŵg: Amen.

*Offeiriad.* Arglwŷdd na wna a nyni yn ôl ein pechodau.

*Atteb.* Ac na obrwŷa ni yn ôl ein hanwireddau.

Gweddiwn.

Duw Tâd trugarog, yr hwn nid ŵyt yn dirmygu ochenaid calon gystuddiedig, nag adduned y gorthrymmedig: cynnorthwŷa yn drugarog ein gweddiau, y rhai yr ydŷm ni yn eu gwneuthur ger dy fron, yn ein trallod a'n blin-fŷd, pa brŷd bynnag a gwascant arnom: a gwrando ni yn rasusol, fel a bo i'r drygau hynnŷ, y rhai a mae ystrŷw, a dichell diafol neu ddŷn yn eu gwneuthur i'n herbŷn, fyned yn ofer, a thrwŷ raglumiaeth dy ddaioni di, iddŷnt fôd yn wascaredig, môdd na'n briwer ni dy weision drwŷ erlŷn nêb, a gallu o honom bŷth ddiolch i ti yn dy lân Eglwŷs, trwŷ Iesu Grist ein Harglwŷdd.

*Arglwydd, cyfod, cymmorth ni, a gwared ni er mwyn dy Enw.*

O Dduw, ni a glywsom a'n clustiau, a'n tadau a fynegasant i ni y gweithredoedd ardderchog a wnaethost yn eu dyddiau, ac yn y cynfyd o'u blaen hwy.

*Arglwydd, cyfod, cymmorth ni, a gwared ni er mwyn dy anrhydedd.*

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mab, ac i'r Yspryd glân.

*Atteb.* Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awrhon, ac a bydd yn wastad, yn oes oesoedd. Amen.

Rhag ein gelynnion amddiffyn ni, Crist.

*Yn rasol edrych ar ein poenedigaethau.*

Yn dosturus ystyria wrth drymder ein calonnau.

*Yn drugarog maddeu bechodau dy bobl.*

Yn garedigol gan drugaredd gwrando ein gweddiau.

*Iesu Fab Dafydd, trugarhâ wrthym.*

Yr awr hon a phob amser teilynga ein gwrando O Crist.

*Yn rasol clyw ni, O Crist, yn rasol clyw nyni O Arglwydd Grist.*

*Offeiriad.* Arglwydd dangos dy drugaredd arnom.

*Atteb.* Fel yr ym yn ymddiried ynot.

*Gweddiwn.*

NYni a attolygwn i ti O Arglwydd Dâd, yn drugarog edrych ar ein gwendid, ac er gogoniant dy Enw, ymchwel oddiwrthym yr holl ddrygau a ddarfu i ni o wir gyfiawnder eu haeddu, a chaniadha fod i ni yn ein holl drallod ddodi ein cyfan ymddiried, a'n gobaith yn dy drugaredd; ac bŷth dy wasanaethu mewn sancteiddrwydd, a phurdeb buchedd, i'th anrhydedd a'th ogoniant trwy ein hunig gyfryngwr, a'n dadleuwr Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

**Gweddi o waith** S. Crysostom.

HOll-alluog Dduw, yr hwn a roddaist i ni râd y prŷd hwn, drwy gyfundeb a chyd-gyfarch i weddio arnat, ac wyt yn addo pan ymgynnullo dau neu dri yn dy Enw, tôd i ti ganiadhau eu gofynnion: cyflawna yr awr hon, O Arglwydd ddymuniad a deisyfiad dy weision, fel a bo mwyaf buddiol iddynt, gan ganiadhau i ni yn y bŷd hwn wybodaeth am dy wirionedd, ac yn y Bŷd a ddaw, fywyd tragywyddol. Amen.

2 Cor. 13. 14.

RHâd ein Harglwydd Jesu Grist, a serch Duw, a chymdeithas yr Yspryd glân, a fyddo gyda ni oll bŷth bythoedd. Amen.

Ymma a diweddiff y Letani.

---

GWEDDIAU A DIOLCH AR AMRYW ACHOSION,

**Iw harfer o flaen y ddwy Weddi Ddiweddaf o'r Letani, neu o'r Foreuol a'r Bryd-nhawnol Weddi.**

GWEDDIAU.

**Am Wlaw.**

O Dduw nefol Dâd, yr hwn drwy dy Fab Iesu Grist, a addewaist i bawb a geisiont dy Deyrnas, a'th gyfiawnder, bob peth angenrheidiol iw cynhaliaeth corphorol: danfon i ni wrth ein hangenoctid, ni a attolygwn i ti, gyfryw dywydd a chafodydd cymedrol, mòdd a gallom dderbyn ffrwythau y ddaiar, i'n cwmfort ni, ac i'th urdduniant titheu, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

**Am Dywydd Teg.**

HOll-alluog Arglwydd Dduw, yr hwn am bechod dyn a foddaist unwaith yr holl Fyd, oddieithr wyth-nyn o bobl, ac yn ol hynny o'th fawr drugaredd a addewaist na's destrywit fellu bŷth drachefn, yn ostyngedig, ni a attolygwn i ti, er i ni am ein hanwireddau haeddu pla o wlaw a dyfroedd.

etto

etto wrth ein gwîr edifeirwch, danfon i ni y cyfrŷw dywŷdd a hinon, fel a gallom dderbŷn ffrwŷthau y ddaiar mewn amſer dyladwŷ, a dyſcu trwŷ dy goſpedigaeth wellau ein bucheddau, ac am dy wareidd-der roddi i ti foliant a gogoniant, trwŷ Ieſu Grîſt ein Harglwŷdd. Amen.

### Ar amſer Drudaniaeth a newyn.

O Dduw Tâd o'r Nêf, drwŷ ddawn pa un a diſcŷn y glaw, a mae y ddaiar yn ffrwŷthlawn, yr hilia anifeilaid, ac yr amlhâ'r pyſcod: edrŷch attolwg, ar adfŷd dy bobl, a chaniadha am y prinder ar drudaniaeth yr ŷm-ni yr awrhon yn ei ddioddef, yn gwbl gytan am ein anwiredd, iddo drwŷ dy drugarog ddaioni di, ymchwelŷd yn rhâd ac yn helaethrwŷdd, er cariad Ieſu Grîſt ein Harglwŷdd, i'r hwn gyda thydi, a'r yſprŷd glân, a bo anrhydedd a gogoniant, yn oes oeſoedd. Amen.

### Neu hon.

O Dduw Drugarog Dâd, yr hwn yn amſer *Eliſeus* y Prophwŷd, a droaiſt yn ddiſymmwth y prinder a'r Drudaniaeth yn *Samaria* yn helaethrwŷdd a rhâd, cymmer drugaredd arnom, fel a bo i ni ( y rhai am ein pechodau a boenir yr awrhon a'r cyffelŷb adfŷd ) dderbŷn yr un fâth brydol gymmorth; Trwŷ dy nefol fendith, pâr gynnŷrch ar ffrwŷthau y ddaiar, a chaniadha fôd i ni ſŷ'n derbŷn dy haelionus lawnder, arferu yr unrhŷw i'th ogoniant di; i gymmorth eraill ſŷ'n dwŷn eiſieu, ac i'n diddanwch ein hunain, trwŷ Ieſu Grîſt ein Harglwŷdd. Amen.

### Ar amſer Rhyfel, a therfyſcau.

HOll-Alluog Dduw, Brenin yr hôll Frenhinoedd, a phen llywiawdr pôb peth, yr hwn ni ddichon un creadur wrthladd ei nerth, i'r hwn a perthŷn o gyfiawnder goſpi pechaduriaid, a bôd yn drugarog wrth y rhai a fyddont wîr edifeiriol: Cadw a gwared nyni, yn oſtyngedig ni attolygwn i tî rhag dwŷlaw ein gelynnion, goſtwng eu balchder, gorchfyga eu drygioni, a gwradwŷdda eu bwriadau, mòdd y gallom yn arfog gan dy amddiffŷn di, fôd bŷth yn gadwedig rhag pôb perygl, i'th ogoneddu di yr hwn wŷt unig roddwr pôb buddugoliaeth a gor uchafiaeth, drwŷ haeddedigaethau dy un Mab Ieſu Grîſt ein Harglwŷdd. Amen.

### Yn amſer pla cyffredin, neu glefyd.

HOll-alluog Dduw, yr hwn yn dy lîd yn yr anialwch a anfonaiſt blâ ar dy bobl dy hun, oblegid eu gwarſythni, a'u gwrth ryfel yn erbŷn *Moſes* ac *Aaron*, ac hefŷd yn amſer y Brenin *Dafŷdd* a laddaiſt a phlâ nodau, ddengmîl a thri.ugain mîl, ac yn man gan gofio dy drugaredd a faddeuaiſt i'r lleill: Trugarha wrthŷm wîr bechaduriaid, y rhai a darfu i ddirfawr haint a marwolaeth ymweled a ni, fel megis y prŷd hwnnw derbyniaiſt gymmod, ac a gorchymynnaiſt i'th Angel beidio a choſpi, fellu bôd yn awr yn wiw gennit dynnŷ oddiwrthŷm y blâ a'r gofudus haint ymma, trwŷ Ieſu Grîſt ein Harglwŷdd, Amen.

* *Yn wŷthnos y cŷd-coriau iw dywedŷd bob dŷdd, tros y rhaî a fyddant î dderbyn urddau cyſſegredîg.*

HOll-alluog Dduw, ein Tâd nefawl, yr hwn a brynaiſt i ti Eglwŷs gyffredinol trwŷ werthfawr waed dy anwŷl Fâb, Edrych yn ddarbodus ar yr unrhŷw; ac ar hŷn o amſer cyfarwŷdda a llyfodraetha feddyliau dy weiſion yr Eſcobion, a Bugeiliaid dy braidd, fel na ddodant ddwŷlo yn ebrwŷdd ar nêb, eithr bôd iddŷnt ddewis yn ffyddlon, ac yn ſynhwŷrol wŷr addas i waſanaethu yn ſanctaidd weinidogaeth dy Eglwŷs. A dyro dy Râs a'th fendith nefawl, i'r ſawl a urdder i bôb ſwŷddyddiaeth ſanctaiddlân, fel a bo iddŷnt trwŷ eu buchedd a'u hathrawiaeth oſod allan dy ogoniant, ac hyfforddio iechŷdwriaeth pawb ôll, trwŷ Ieſu Grîſt ein Harglwŷdd. Amen.

### Neu hon.

HOll-alluog Dduw, rhoddwr pôb dawn daionus, yr hwn o'th Dduwiol ddarbodaeth a oſodaiſt amrŷwiol Raddau yn dy Eglwŷs, Ni attolygwn yn ufudd i ti, roddi dy Râs i'r ſawl ôll a alwer i bôb ſwŷdd a Gweinidogaeth yn yr unrhŷw; Ac fellu cyflawna hwŷnt a'th wîr athrawiaeth, a chynyſcaedda hwŷnt a dinlweidrwŷdd buchedd,

edd, fel a gwasanaethont yn ffyddlon ger dy fron, i ogoniant dy ddirfawr Enw, ac er llês i'th Eglwŷs sanctaidd, trwŷ Iesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

** Gweddi tros uchel Lŷs y Parliament, iw dywedŷd tra fônt yn eistedd*

O Dduw grasusaf, yn ufudd attolygwn i ti, megis tros y Deŷrnas hon yn gyffredinol, fellŷ yn enwedig tros yr uchel Lŷs Parliament yn gynnulledig yr awr hon, tan ein duwiolaf a'n grasusaf Arglwŷdd, Frenin; deilyngu o honot lyfodraethu a llwŷddo eu hôll ymgynghoriadau er derchafiad i'th ogoniant, er daioni i'th Eglwŷs, ac er diogelwch, anrhydedd a llwŷddiant i'n Harglwŷdd Frenin, a'i deŷrnasoedd: Trwŷ eu llafur hwŷ, fellŷ trefner a gwastadtâer pôb pêth ar y sail oreu a chadarnaf, fel a bo heddwch a Dedwŷddwch, Gwirionedd a Chyfiawnder, ffŷdd a Duwioldeb yn sefydlog, yn ein plîth trwŷ'r holl Genhedlaethau. Hŷn a phôb pêth arall anghenrhaid iddŷnt hwŷ, i ni, ac i'th Eglwŷs ôll, yr ŷm yn ostyngedig yn eu herfŷn yn Enw a chyfryngdod Iesu Grist ein Harglwŷdd, a'n Iachawdr bendigedig. Amen.

** Colect neu weddi tros bôb stât o ddynnion, iw harfer pan na bô bwŷnniedig dywedŷd y Letani.*

O Arglwŷdd, Creawdr a Cheidwad pôb dŷn, yn ostyngedig attolygwn i ti tros bôb stât a grâdd o ddynnion, ar fôd yn wiw gennit ysbysu iddŷnt dy ffŷrdd, dy iechŷdwriaeth i'r holl Genhedloedd. Yn bennaf erfynniwn arnat tros lwŷddiannus stât yr Eglwŷs Gatholic, fel gan gael ei harwain a'i llyfodraethu gan dy yspryd grasusol, a caffo pawb eu proffessu, ac yn eu galw eu hunain yn Gristionogion eu tywŷs arhŷd ffordd y gwirionedd, a chynnal y ffŷdd mewn undeb yspryd, rhwŷmŷn tangnheddŷf ac uniondeb buchedd. Yn ddiweddaf ni a orchymynwn i'th dâdawl ymgeledd y rhai ôll a gystuddir mewn un môdd, neu sŷdd yn gyfŷng arnŷnt mewn meddwl, corph, neu stât [ ** yn enwedig y sawl tros pa rai a dymunir ein gweddiau* ] ryngu bôdd i ti eu diddanu, a'u cymmorth yn ôl angenrheidiau pôb un, gan roddi iddŷnt ammynedd dan eu dioddefiadau, a dedwŷddol ymwared o'u hôll gystuddiau. A hŷn a erfyniwn er mwŷn Iesu Grist. Amen.

** Hŷn a ddywedir pan ddymuno un weddiau y gynulleidfa.*

** Gweddi a ellir ei dywedŷd ar ôl pob un o'r rhai o'r blaen.*

O Dduw yr hwn a bia o naturiaeth a phriodoldeb, drugarhau yn wastad a maddeu, derbŷn ein hufudd weddiau, ac er ein bôd ni yn rhwŷm gan gaethiwed cadwŷnau ein pechodau, er hynnŷ dattoder ni gan dosturi dy drugaredd, er anrhydedd Iesu Grist ein cyfryngwr a'n dadleuwr. Amen.

---

# DIOLCHIADAU.

## Diolch cyffredinol.

HOll alluog Dduw, Tâd y trugareddau, yr ydŷm ni dy weision annheilwng yn rhoddi i ti ein diolch gostyngeiddiaf a ffyddlonaf am dy hôll ddaioni a'th Drugareddau i ni ac i bôb dŷn [ ** yn enwedig i'r rhai sŷ yr awr hon yn ewŷllysio offrymmu it eu moliannau, a u diolch am y tosturi a ryglŷddiast iddŷnt yn ddiweddar* ] Ni a'th fendithiwn am ein Creadigaeth, am ein Cadwraeth, ac am holl fendithion y bywŷd hwn. Eithr uwchlaw pôb dim am dy anfeidrol gariad ym mhrynedigaeth y Bŷd, trwŷ ein Harglwŷdd Iesu Grist, am y moddion o Râs, ac am obaith Gogoniant. Ac ni attolygwn i ti roddi i ni y cyfrŷw ddwŷs ac iawn ymsynniad ar dy holl Drugareddau, fel a bo ein calonnau yn ddiffuant yn ddiolchgar, ac fel a mynegom dy foliant, nid a'n gwefusau yn unig, eithr yn ein bucheddau, trwŷ ymroddi i'th wasanaeth, a thrwŷ rodio ger dy fron mewn sancteiddrwŷdd ac uniondeb tros ein holl ddyddiau, trwŷ Iesu Grist ein Harglwŷdd; i'r hwn gyda thydi, a'r Yspryd glân bydded yr holl anrhydedd a'r gogoniant byth bythoedd. Amen.

** Dyweder hŷn pan fo un a weddiwŷd trosto yn deisŷf talu diolch.*

## Am gael Glaw.

O Dduw ein Tâd nefol, yr hwn drwŷ dy rasol ragluniaeth, wŷt yn peri

i'r glaw cynnar a'r diweddar ddifcŷn ar y ddaiar, fel a gallo ddwŷn ffrwŷth er mwŷniant dŷn: yr ydŷm ni yn rhoi i ti oftyngedig ddiolch, fôd yn wiw gennit wrth ein dirfawr angenrhaid, ddanfon i ni o'r diwedd law hyfrŷd ar dy etifeddiaeth, a'i hireiddio pan oedd fŷch, i'n mawr ddiddanwch ni dy weifion anwiw, ac i ogoniant dy fanctaidd Enw, trwŷ dy drugareddau yn Iefu Grift ein Harglwŷdd. Amen.

### Am dywydd teg.

O Arglwŷdd Dduw, yr hwn yn gyfiawn a'n daroftyngaift ni drwŷ dy ddiweddar blâ o anfeidrol wlaw a dyfroedd, ac yn dy Drugaredd a gymmhorthaift, ac a ddiddenaift ein heneidiau, drwŷ y tymmhoraidd a'r bendigedig gyfnewid ymma ar dywŷdd, Nyni a folianwn ac a ogoneddwn dy fanctaidd Enw am dy drugaredd hwn, ac a ddatcanwn bŷth dy drugareddau, o genhedlaeth i genhedlaeth, trwŷ Iefu Grift ein Harglwŷdd. Amen.

### Am helaethrwydd.

O Drugarogcaf Dâd, yr hwn o'th raffon ddaioni a wrandewaift ddefofionol weddiau dy Eglwŷs, ac a droaift ein prinder ni a'n drudaniaeth yn rhâd ac yn helaethrwŷdd: yr ydŷm yn rhoi i ti oftyngedig ddiolch am dy ragorol haelioni hwnnw, ac yn attolwg i ti barhau dy garedigrwŷdd ymma tuagattom, fel a rhoddo ein tîr i ni ei ffrwŷthau toraethog, i'th ogoniant di, a'n diddanwch ninnau, trwŷ Iefu Grift ein Harglwŷdd. Amen.

### Am heddwch, ac ymwared oddiwrth ein gelynnion.

HOll-Alluog Dduw, yr hwn wŷt gadarn dŵr ymddiffŷn i'th weifion, rhag wŷneb eu gelynnion; yr ydŷm ni yn rhoddi i ti foliant, a diolch am ein hymwared ni oddiwrth y mawr a'r amlwg beryglon oedd i'n hamgylchu; yr ydŷm ni yn cydnabod mai dy ddaioni di ŷw, na'n rhoddwŷd ni i fynu yn yfclyfaeth iddŷnt hwŷ, ac yn attolwg i ti yn waftadol barhau dy gyfryw drugareddau tuagattom, fel a gallo yr holl fŷd wŷbod mai tydi ŷw ein hachubwr, a'n cadarn waredwr ni, drwŷ Iefu Grift ein Harglwŷdd. Amen.

### Am Tdfryd, neu adroddi heddwch cyffredinol gartref.

TRagywŷddol Dduw ein Tâd nefol, yr hwn yn unig wŷt yn gwneuthur i ddynnion fôd yn unfrŷd mewn tŷ, ac yn goftegu cynddeiriogrwŷdd y bobl afreolus, Ni a fendithiwn dy Enw fanctaidd, Deilyngu o honot lonyddu y cythryfwl terfyfcus a gyffrowŷd yn ddiweddar yn ein plith: Ac yn ufudd yr attolygwn i ti ganiadtau i bôb rhai o honom râs, i rodio o hŷn allan yn oftyngedig i'th orchymynion fanctaidd, a chan fŷw mewn buchedd ddiftaw, a heddychol ymhôb duwioldeb a goneftrwŷdd, i offrymmu yn ddibaid i ti ein haberth o foliant a diolchgarwch, am dy drugareddau hŷn tuagattom, trwŷ Iefu Grift ein Harglwŷdd. Amen.

### Am ymwared oddiwrth bla y nodau, neu ryw glefyd arall.

O Arglwŷdd Dduw, yr hwn a'n harchollaift ni am ein pechodau, ac a'n difethaift am ein hanwireddau, drwŷ dy ddiweddar ymweliad gorthrwm ac ofnadwŷ; ac etto ynghanol dy farnedigaeth a gofiaift dy drugaredd, ac a achubaift ein heneidiau allan o fafn angeu: yr ydŷm ni yn offrwm i'th dadol ddaioni, ein hunain, ein heneidiau, a'n cŷrph, y rhai a waredaift di, i fôd yn aberth bŷwiol i ti, gan foliannu a mawrygu yn waftadol dy drugareddau ygnhanol yr Eglwŷs, trwŷ Iefu Grift ein Harglwŷdd. Amen.

### Neu hyn.

YR Ydŷm ni yn oftyngedig yn cyfaddef ger dy fron di, O drugarogcaf Dâd, y gallafei yr holl gofpedigaethau a fygythir yn dy gyfraith, yn gyfiawn ddifcŷn arnom ni, o herwŷdd ein haml drofeddau, a chaledwch ein calonnau: Etto gan fôd yn wiw gennit o'th dynêr drugaredd, ar ein gwan a'n hanheilwng ymddaroftyngiad ni, efmwŷthau y blâ niweidiol, a'r hwn yn ddiweddar i'n cyftuddiwŷd, ac edfrŷd llêf gorfoledd ac iechŷdwriaeth yn ein cyfaneddau: yr ydŷm ni yn offrwm i'th dduwiol fawredd, aberth moliant a diolch, gan glodfori a mawrygu dy ogoneddus Enw, o herwŷdd dy ymgeledd a'th ragddarbodaeth drofom, drwŷ Iefu Grift ein Harglwŷdd. Amen.

a syched; mewn ymprydiau yn fynych; mewn anwŷd a noethni. Heblaw y pethau sŷ yn digwŷdd oddiallan, yr ymosod yr hwn sŷdd arnaf beunŷdd, y gofal tros yr holl Eglwŷsi. Pwŷ sŷ wan, nad wŷf finneu wan? Pwŷ a dramgwŷddir, nad wŷf finneu yn llosci? Os rhaid ymffrostio, mi a ymffrostiaf am y pethau sŷ yn perthŷn i'm Gwendid. Duw, a Thâd ein Harglwŷdd ni Jesu Grist, yr hwn sŷdd fendigedig yn oes oesoedd, a ŵŷr nad wŷf yn dywedŷd celwŷdd.

### Yr Efengŷl. S. Luc 8. 4.

GWedi i lawer o bobl ymgynnull ynghŷd, a chyrchu atto o bôb dinas, efe a ddywedodd ar ddammeg, Yr hauwr a aeth allan i hau ei hâd: ac wrth hau, pêth a syrthiodd ar ymŷl y ffordd, ac a sathrwŷd, ac ehediaid y nêf a'i bwŷdtaodd. A phêth arall a syrthiodd ar y graig, a phan eginodd a gwŷwodd, am nad oedd iddo wlŷbaniaeth. A pheth arall a syrthiodd ymŷsc drain, a'r drain a gŷd-tyfasant, ac a'i tagasant ef. A phêth arall a syrthiodd ar dîr dâ, ac a eginodd, ac a ddug ffrwŷth ar ei ganfed. Wrth ddywedŷd y pethau hŷn efe a lefodd, Y nêb sŷdd a chlustiau ganddo i wrando, Gwrandawed. A'i ddiscyblion a ofŷnnasant iddo, gan ddywedŷd, Pa ddammeg oedd hon? Yntef a ddywedodd, I chwi a rhoddwŷd gwŷbod dirgeloedd teyrnas Dduw, eithr i eraill ar ddamhegion, fel yn Gweled na welant, ac yn clywed na ddeallant. Ac dymma'r ddammeg: Yr hâd ŷw Gair Duw. A'r rhai ar ymŷl y ffordd, ydŷw y rhai sŷ yn Gwrando: wedi hynnŷ i mae diafol yn dyfod, ac yn dwŷn ymaith y Gair o'u calon hwŷnt, rhag iddŷnt gredu a bôd yn Gadwedig. A'r rhai ar y Graig, ŷw y rhai pan glywant, a dderbyniant y gair yn llawen: a'r rhai hŷn nid oes ganddŷnt wreiddin, y rhai sŷdd yn credu tros amser, ac yn amser profedigaeth yn cilio. A'r hwn a syrthiodd ymŷsc drain, ŷw y rhai a wrandawsant, ac wedi iddŷnt fyned ymaith, hwŷ a dagwŷd gan ofalon, a golud, a melyswedd buchedd, ac nid ydŷnt yn dwŷn ffrwŷth i berffeithrwŷdd. A'r hwn ar y tîr dâ, ŷw y rhai hŷn, y rhai a chalon hawddgar a dâ, ŷdŷnt yn Gwrando y Gair, ac yn ei gadw, ac yn dwŷn ffrwŷth trwŷ amynedd.

## Y Sûl a elwir Quinquagesima, neu Sûl Ynŷd.

### Y Colect.

O Arglwŷdd, yr hwn a ddyscaist na thâl dim ein holl weithredoedd a wnelom heb gariad perffaith; anfon dy Yspryd glân, a thywallt yn ein calonnau ragorol ddawn cariad perffaith, gwîr rwŷmŷn tangneddŷf, a hôll rinweddau dâ, heb yr hwn pwŷ bynnag sŷdd yn bŷw a gyfrifir yn farw ger dy fron di, Caniadha hŷn er mwŷn dy un Mâb Iesu Grist. Amen.

### Yr Epistol. 1 Corinthiaid 13. 1.

PE llefarwn a thafodau dynnion ac Angelion, ac heb fôd gennif gariad, yr wŷf fel efŷdd yn seinio, neu sŷmbal yn tingcian. A phe byddei gennif brophwŷdoliaeth, a gwŷbod o honof y dirgelion oll, a phôb gwŷbodaeth; a phe bai gennif yr holl ffŷdd, fel a gallwn symmudo mynyddoedd, ac heb gennif gariad; nid wŷfi ddim. A phe porthwn y tlodion a'm holl ddâ; a phe rhoddwn fy ngorph iw losci, ac heb gariad gennif, nid ŷw ddim llesâd i mi. I mae cariad yn hir-ymaros, yn gymwŷnascar, cariad nid ŷw yn cynfigennu, nid ŷw cariad yn ymffrostio, nid ŷw yn ymchwŷddo; Nid ŷw yn gwneuthur yn anweddaidd; nid ŷw yn ceisio yr eiddo ei hun; ni chythruddir; ni feddwl ddrwg; Nid ŷw lawen am anghyfiawnder, onid cŷd-lawenhau a mae a'r Gwirionedd. Mae yn dioddef pôb dim, yn credu pôb dim, yn gobeithio pôb dim, yn ymaros a phôb dim. Cariad bŷth ni chwŷmp ymaith: eithr pa un bynnag a'i prophwŷdoliaethau, hwŷ a ballant: a'i tafodau, hwŷ a beidiant: a'i gwŷbodaeth, hi ddiflanna. Canŷs o ran a gwŷddom, ac o ran yr ydŷm yn Prophwŷdo. Eithr pan ddelo yr hŷn sŷdd berffaith, yna yr hŷn sŷdd o ran a ddileuir. Pan oeddwn fachgen, fel bachgen a llefarwn, fel bachgen a deallwn, fel bachgen a meddyliwn: ond pan aethŷm yn ŵr, mi a rois heibio bethau bachgennaidd. Canŷs gweled yr ydŷm yr awr hon trwŷ ddrŷch mewn dammeg, ond yna wŷneb yn wŷneb. Yn awr yr adwaen o ran, ond yna yr adnabyddaf megis i'm hadwaenir. Yr awr

hon

hon y mae yn aros, ffŷdd, gobaith, cariad, y tri hŷn, a'r mwŷaf o'r rhai hŷn ŷw cariad.

*Yr Efengŷl. S. Luc. 18. 31.*

YR Jesu a gymmerodd y deuddeg atto, ac a ddywedodd wrthŷnt, Wele, yr ydŷm ni yn myned i fynu i Jerusalem, a chyflawnir pôb peth a'r sŷdd yn scrifennedig trwŷ'r prophwŷdi am Fab y dŷn. Canŷs efe a draddodir i'r cenhedloedd, ac a watwerir, ac a amherchir, ac a boerir arno: Ac wedi iddŷnt ei fflangellu a lladdant ef, a'r trydŷdd dŷdd efe a adgyfŷd. A hwŷ ni ddeallasant ddim o'r pethau hŷn, a'r gair hwn oedd guddiedig oddiwrthŷnt, ac ni wŷbuant y pethau a ddywedwŷd. A bu, ag efe yn nesau at Jericho, i rŷw ddŷn dall fôd yn eistedd yn ymyl y ffordd yn cardotta. A phan glybu efe y dyrfa yn myned heibio, efe a ofynnodd pa beth oedd hŷn. A hwŷ a ddywedasant iddo mai Jesu o Nazareth oedd yn myned heibio. Ac efe a lefodd, gan ddywedŷd, Jesu Fab Dafŷdd trugarhâ wrthif. A'r rhai oedd yn myned o'r blaen a'i ceryddasant ef i dewi: ond efe a lefodd yn fwŷ o lawer, Mab Dafŷdd trugarha wrthif. A'r Jesu a safodd, ac a orchymynnodd ei ddwŷn ef atto: a phan ddaeth yn agos, efe a ofynnodd iddo, Gan ddywedŷd, pa peth a fynni di i mi ei wneuthur i ti? Yntef a ddywedodd, Arglwŷdd, cael o honof fy ngolwg. A'r Jesu a ddywedodd wrtho, Cymmer dy olwg; dy ffŷdd a'th iachaodd. Ac allan o law a cafodd efe ei olwg, ac a'i canlynodd ef, gan ogoneddu Duw: a'r hôll bobl pan welsant, a roesant folsant i Dduw.

---

*Y Dŷdd cyntaf o'r Grawŷs, yr hwn a elwir yn gyffredin Dŷdd Mercher y Lludw.*

*Y Colect.*

HOll gyfoethog a thragywŷddol Dduw, yr hwn ni chasheî ddim a'r a wnaethost, ac a faddeui bechodau pawb ag sŷ edifeiriol; crêa a gwna ynom newŷdd a drylliedig galonnau; fel a bo i ni gan ddyledus ddolurio am ein pechodau, a chyfaddef ein trueni, allu caffael gennit, Dduw yr hôll drugaredd, gwbl faddeuant a gollyngdod, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

* *Y Colect hwn a ddarllennir bôb dŷdd o'r grawŷs, arol y colect a appwŷntir ir diwrnod.*

*Yn lle yr Epistol. Joel. 2. 12.*

DYchwelwch, attafi medd yr Arglwŷdd a'ch hôll galon, ag ymprŷd hefŷd, a gwylofain, ac a galar. A rhwŷgwch eich calon, ac nid eich dillad; ac ymchwelwch at yr Arglwŷdd eich Duw: o herwŷdd grasslawn, a thrugarog ŷw efe, hwŷrfrydig i ddigofaint, a mawr ei drugaredd, ac edifeiriol am ddrwg. Pwŷ a wŷr a drŷ efe ac edifarhau, a gweddill bendith ar ei ôl, sef bwŷd offrwm, a diod offrwm i'r Arglwŷdd eich Duw? Cenwch udcorn yn Seion, cyssegrwch ymprŷd, gelwch gymmanfa: Cesclwch y bobl; cyssegrwch y gynnulleidfa: cynhullwch yr henuriaid; cesclwch y plant, a'r rhai yn sugno bronnau: deled y priodfab allan o'i stafell, a'r briodferch allan o stafell ei gwelŷ: Wŷled yr offeiriaid, gweinidogion yr Arglwŷdd, rhwng y porth a'r allor, a dywedant; arbed dy bobl O Arglwŷdd, ac na ddyro dy etifeddiaeth i warth; i lyfodraethu o'r cenhedloedd arnŷnt; pa ham a dywedent ym mhlith y bobloedd, pa lê a mae eu Duw hwŷnt.

*Yr Efengŷl S. Matthew. 6. 16.*

PAn ymprydioch, na fyddwch fel y rhagrithwŷr yn wŷneb drist: canŷs anffurfio eu hwŷnebau a maent, fel yr ymddangosont i ddynnion eu bôd yn ymprydio, yn wîr meddaf i chwi, maent yn derbŷn eu gwobr. Ond pan ymprydiech di, enneinia dy ben, a golch dy wŷneb, Fel nad ymddangosech i ddynnion dy fôd yn ymprydio, ond i'th Dâd yr hwn sŷdd yn y dirgel; a'th Dâd yr hwn sŷdd yn gweled yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg. Na thryssorwch i'wch dryssorau ar y ddaiar, lle a mae gwŷfŷn a rhwd yn llygru, a lle a mae lladron yn cloddio trwodd, ac yn lladradta. Ond tryssorwch i'wch dryssorau yn y nêf, lle nid oes na gwŷfŷn na rhŵd yn llygru, a lle ni's cloddia lladron trwodd, ac ni's lladradtant. Canŷs llê mae eich trysor yno a bŷdd eich calon hefŷd.

## Y Sûl cyntaf yn y Grawys.

### Y Colect.

O Arglwydd, yr hwn er ein mwyn a ymprydiaist ddeugain nhiwrnod, a deugain nhôs, dyro i ni râd i ymarfer o gyfryw ddirwest, fel a byddo i ni gan ostwng ein cnawd i'r Yspryd, bŷth ufuddhau i'th dduwiol annog, mewn iawnder a gwir sancteiddrwydd, i'th anrhydedd, a'th ogoniant, yr hwn wyt yn bŷw, ac yn teyrnasu, gyda'r Tâd, a'r Yspryd glân yn un Duw, heb drangc na gorphen. *Amen.*

### Yr Epistol. 2 Corinthiaid 6. 1.

NYni gan gŷdweithio, ydŷm yn attolwg i chwi, na dderbynioch râs Duw yn ofer: ( Canŷs i mae efe yn dywedŷd, mewn amser cymmeradwŷ i'th wrandewais, ac yn nŷdd iechŷdwriaeth i'th gynhorthwŷais: wele yn awr yr amser cymmeradwŷ, wele yn awr ddŷdd yr iechŷdwriaeth ) Heb roddi dim achos tramgwŷdd mewn dim, fel na feier ar y weinidogaeth: Ond gan ein dangos ein hunain ymmhôb pêth, fel gweinidogion Duw, mewn ammynedd mawr, mewn cystuddiau, mewn anghenion, mewn cyfyngderau, mewn gwialennodau, mewn carcharau, mewn terfysceu, mewn poenau, mewn gwiliadwriaethau, mewn ymprydiau, Mewn purdeb, mewn gwŷbodaeth, mewn hir-ymaros, mewn tiriondeb, yn yr Yspryd glân, mewn cariad diragrith, Yng air y gwirionedd, yn nerth Duw, trwŷ arfau cyfiawnder, ar ddeheu, ac ar asswŷ, Trwŷ barch ac amharch, trwŷ anglod a chlôd, megis twŷllwŷr, ac er hynnŷ yn eirwir; Megis anadnabyddus, ac er hynnŷ yn adnabyddus, megis yn meirw, ac wele bŷw ydŷm; megis wedi ein ceryddu, a heb ein lladd; Megis wedi ein tristâu, ond yn oestad yn llawen; megis yn dlodion, ond yn cyfoethogi llawer: megis heb ddim gennŷm, ond etto yn meddiannu pôb pêth.

### Yr Efengyl. S. Matthew 4. 1.

YNa yr Jesu a arweinwŷd i fynu i'r anialwch gan yr Yspryd iw demptio gan ddiafol. Ac wedi iddo ymprydio ddeugain nhiwrnod a deugain nôs, yn ol hynnŷ efe a newŷnodd. A'r temptiwr pan ddaeth atto, a ddywedodd, Os mâb Duw wŷt ti, arch i'r cerrig hŷn fôd yn fara. Ac yntef a attebodd, ac a ddywedodd, Scrifennwŷd, Nid trwŷ fara yn unig a bŷdd bŷw dŷn, ond trwŷ bôb gair a ddêl allan o enau Duw. Yna a cymerth diafol ef i'r ddinas sanctaidd, ac a'i gosododd ef ar binacl y deml; Ac a ddywedodd wrtho, Os mâb Duw wŷti, bwrw dy hun i lawr; canŷs scrifennwŷd, a rhŷdd efe orchymmŷn iw angelion am danat, a hwŷ a'th ddygant yn eu dwŷlo, rhag taro o honot un amser dy droed wrth garreg. Yr Jesu a ddywedodd wrtho, Scrifennwŷd drachefn, Na themptia yr Arglwŷdd dy Dduw. Drachefn a cymmerth diafol ef i fynŷdd tra uchel, ac a ddangosodd iddo hôll deyrnasoedd y bŷd, a'u gogoniant. Ac a ddywedodd wrtho, Hŷn ôll a roddaf i ti, os syrthi i lawr a'm haddoli i. Yna yr Jesu a ddywedodd wrtho, ymmaith Satan; canŷs scrifennwŷd, yr Arglwŷdd dy Dduw a addoli, ac ef yn unig a wasanaethi. Yna i gadawodd diafol ef: ac wele angelion a ddaethant, ac a weiniasant iddo.

## Yr ail Sûl o'r Grawys.

### Y Colect.

HOllalluog Dduw, yr hwn wŷt yn gweled nad oes gennŷm ddim meddiant o'n nerth ein hunain i'n cymmorth ein hunain. cadw di ni oddifewn ac oddiallan, sef enaid a chorph, fel yr amddiffynner ni rhag pôb gwrthwŷneb a ddigwŷddo i'r corph, a rhag pôb drwg feddwl a wna niwed na chynnwrf i'r enaid, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

### Yr Epistol. 1 Thessaloniaid. 4. 1.

YMhellach gan hynnŷ, frodŷr, yr ydŷm yn attolwg i chwi, ac yn deisŷf yn yr Arglwŷdd Jesu, megis a derbyniasoch gennŷm pa fôdd a dylech rodio a bodloni Duw, ar i chwi gynnyddu fwŷ fwŷ. Canŷs chwi a wŷddoch pa orchymmynion a roddasom i chwi, trwŷ'r Arglwŷdd Jesu. Canŷs hŷn

ŷw ewyllys Duw, sef eich sancteiddiad chwi, ar ymgadw o honoch rhag godineb: A'r fedru o bôb un o honoch feddiannu ei lestr ei hun mewn sancteiddrwydd, a pharch: Nid mewn gwŷn trachwant, megis y Cenhedloedd y rhai nid adwaenant Dduw: Na byddo i nêb orthrymmu na thwyllo ei frawd mewn dim: canys dialudd ŷw'r Arglwydd ar y rhai hŷn ôll, megis a dywedasom i chwi o'r blaen, ac a tystiasom. Canys ni alwodd Duw nyni i aflendid, ond i sancteiddrwydd. Am hynny, y nêb sydd yn dirmygu, nid dŷn a mae yn ei ddirmygu, ond Duw, yr hwn hefyd a roddes ei Yspryd glân ynom ni.

*Yr Efengyl. S. Matthew. 15. 21.*

A'R Jesu a aeth oddiyno, ac a giliodd i duedda Tyrus a Sidon. Ac wele, gwraig o Ganaan a ddaeth o'r parthau hynny, ac a lefodd, gan ddywedyd wrtho, Trugarhâ wrthif, O Arglwydd, Fâb Dafydd, I mae fy merch yn ddrŵg ei hwyl gan gythrael. Ond nid attebodd efe iddi un gair. A daeth ei ddyscyblion atto, ac a attolygasant iddo, gan ddywedyd, Gollwng hi ymaith, canys i mae hi yn llefain ar ein hôl. Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, Ni'm danfonwyd i ond at ddefaid colledig Tŷ Israel. Ond hi a ddaeth, ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd cymmorth fi. Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, Nid dâ cymmeryd bara y plant, a'i fwrw i'r cŵn. Hitheu a ddywedodd, Gwir ŷw Arglwydd: canys mae'r cŵn yn bwyta o'r briwsion sy'n syrthio oddiar fwrdd eu harglwyddi, Yna yr attebodd yr Jesu, ac a ddywedodd wrthi, Ha wraig, mawr ŷw dy ffydd: bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio. A'i merch a iachawyd o'r awr honno allan.

---

*Y trydydd Sûl o'r Grawys.*

*Y Colect.*

NI a attolygwn i ti, Hollalluag Dduw, edrych o honot ar ddeisyfiadau dy ufudd weision, ac estyn ddeheu law dy fawredd i fôd yn ymwared i ni yn erbyn ein gelynion, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol. Ephesiaid. 5. 1.*

BYddwch gan hynny ddilynwyr Duw, fel plant anwyl: A rhodiwch mewn cariad, megis a carodd Crist ninnau, ac a'i rhoddodd ei hun trosom ni yn offrwm ac yn aberth i Dduw, o arogl peraidd. Eithr godineb, a phôb aflendid, neu gybydd-dra, na henwer chwaith yn eich plith, megis a gweddei i Saint: Na serthedd, nac ymadrodd ffôl, na choeg-ddigrifwch, pethau nid ydynt weddus: ond yn hytrach rhoddi diolch. Canys yr ydych chwi yn gwybod hyn, am bôb putteiniwr, neu aflan, neu gybydd, yr hwn sydd ddelwaddolwr, nad oes iddynt etifeddiaeth yn Nheyrnas Crist a Duw. Na thwylled nêb chwi a geiriau ofer: Canys oblegid y pethau hŷn a mae digofaint Duw yn dyfod ar blant yr anufudd-dod. Na fyddwch gan hynny gyfrannogion a hwynt. Canys yr oeddych chwi gynt yn dywyllwch, ond yrawron goleuni ydych yn yr Arglwydd: rhodiwch fel plant y goleuni, (Canys ffrwyth yr Yspryd sydd ymhôb daioni, a chyfiawnder, a gwirionedd) Gan brofi bêth sydd gymmeradwy gan yr Arglwydd. Ac na fydded i chwi gydgyfeillach a gweithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch, ond yn hytrach argyoeddwch hwynt. Canys brwnt ŷw adrodd y pethau a wneir ganddynt hwy yn ddirgel. Ond pôb pêth, wedi'r argyoedder, a eglurir gan y goleuni: canys bêth bynnag sydd yn egluro, goleuni ŷw. O herwydd pa ham a mae efe yn dywedyd, Deffro di yr hwn wyt yn cyscu, a chyfod oddiwrth y meirw; a Christ a oleua i ti.

*Yr Efengyl. S. Luc. 11. 14.*

YR Jesu oedd yn bwrw allan gythrael, a hwnnw oedd fud: a bu wedi i'r cythrael fyned allan, i'r mudau lefaru: a'r bobloedd a ryfeddasant. Ond rhai o honynt a ddywedasant, Trwy Beelzebub pennaeth y cythreuliaid a mae efe yn bwrw allan gythreuliaid. Ac eraill gan ei demptio, a geisiasant ganddo arwydd o'r nêf. Yntef yn gwybod eu meddyliau hwynt, a ddywedodd wrthynt, Pôb teyrnas wedi ymrannu yn ei herbyn ei hun, a anghyfanneddir: a thŷ yn erbyn tŷ, a syrth. Ac os Satan

*Y Sûl cyntaf yn y Grawŷs.*

*Y Colect.*

O Arglwŷdd, yr hwn er ein mwŷn a ymprydiaist ddeugain nhiwrnod, a deugain nhôs, dyro i ni râd i ymarfer o gyfryw ddirwest, fel a byddo i ni gan ostwng ein cnawd i'r Yspryd, bŷth ufuddhau i'th dduwiol annog, mewn iawnder a gwir sancteiddrwŷdd, i'th anrhydedd, a'th ogoniant, yr hwn wŷt yn bŷw, ac yn teŷrnasu, gyda'r Tâd, a'r Yspryd glân yn un Duw, heb drangc na gorphen. *Amen.*

*Yr Epistol. 2 Corinthiaid 6. 1.*

NYni gan gŷdweithio, ydŷm yn attolwg i chwi, na dderbynioch râs Duw yn ofer: (Canŷs i mae efe ŷn dywedŷd, mewn amser cymmeradwŷ i'th wrandewais, ac yn nŷdd iechŷdwriaeth i'th gynhorthwŷais: wele yn awr yr amser cymmeradwŷ, wele yn awr ddŷdd yr iechŷdwriaeth) Heb roddi dim achos tramgwŷdd mewn dim, fel na feier ar y weinidogaeth: Ond gan ein dangos ein hunain ymmhôb pêth, fel gweinidogion Duw, mewn ammynedd mawr, mewn cystuddiau, mewn anghenion, mewn cyfyngderau, mewn gwialennodau, mewn carcharau, mewn terfysgau, mewn poenau, mewn gwiliadwriaethau, mewn ymprydiau, Mewn purdeb, mewn gwŷbodaeth, mewn hir-ymaros, mewn tiriondeb, yn yr Ysprŷd glân, mewn cariad diragrith, Yng air y gwirionedd, yn nerth Duw, trwŷ arfau cyfiawnder, ar ddeheu, ac ar asswŷ, Trwŷ barch ac amharch, trwŷ anglod a chlôd, megis twŷllwŷr, ac er hynnŷ yn eirwir; Megis anadnabyddus, ac er hynnŷ yn adnabyddus, megis yn meirw, ac wele bŷw ydŷm; megis wedi ein ceryddu, a heb ein lladd; Megis wedi ein tristâu, ond yn oestad yn llawen; megis yn dlodion, ond yn cyfoethogi llawer: megis heb ddim gennŷm, ond etto yn meddiannu pôb pêth.

*Yr Efengŷl. S. Matthew 4. 1.*

YNa yr Jesu a arweinwŷd i fynu i'r anialwch gan yr Ysprŷd iw demptio gan ddiafol. Ac wedi iddo ymprydio ddeugain nhiwrnod a deugain nôs, yn ol hynnŷ efe a newŷnodd. A'r temptiwr pan ddaeth atto, a ddywedodd, Os mâb Duw wŷt ti, arch i'r cerrig hŷn fôd yn fara. Ac yntef a attebodd, ac a ddywedodd, Scrifennwŷd, Nid trwŷ fara yn unig a bŷdd bŷw dŷn, ond trwŷ bôb gair a ddêl allan o enau Duw. Yna a cymerth diafol ef i'r ddinas sanctaidd, ac a'i gosododd ef ar binacl y deml; Ac a ddywedodd wrtho, Os mâb Duw wŷti, bwrw dy hun i lawr; canŷs scrifennwŷd, a rhŷdd efe orchymmŷn iw angelion am danat, a hwŷ a'th ddygant yn eu dwŷlo, rhag taro o honot un amser dy droed wrth garreg. Yr Jesu a ddywedodd wrtho, Scrifennwŷd drachefn, Na themptia yr Arglwŷdd dy Dduw. Drachefn a cymmerth diafol ef i fynŷdd tra uchel, ac a ddangosodd iddo hôll deŷrnasoedd y bŷd, a'u gogoniant. Ac a ddywedodd wrtho, Hŷn ôll a roddaf i ti, os syrthi i lawr a'm haddoli i. Yna yr Jesu a ddywedodd wrtho, ymmaith Satan; canŷs scrifennwŷd, yr Arglwŷdd dy Dduw a addoli, ac ef yn unig a wasanaethi. Yna a gadawodd diafol ef: ac wele angelion a ddaethant, ac a weiniasant iddo.

*Yr ail Sûl o'r Grawŷs.*

*Y Colect.*

HOllalluog Dduw, yr hwn wŷt yn gweled nad oes gennŷm ddim meddiant o'n nerth ein hunain i'n cymmorth ein hunain. cadw di ni oddifewn ac oddiallan, sef enaid a chorph, fel yr amddiffynner ni rhag pôb gwrthwŷneb a ddigwŷddo i'r corph, a rhag pôb drwg feddwl a wna niwed na chynnwrf i'r enaid, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

*Yr Epistol. 1 Thessaloniaid. 4. 1.*

YMhellach gan hynnŷ, frodŷr, yr ydŷm yn attolwg i chwi, ac yn deisŷf yn yr Arglwŷdd Jesu, megis a derbyniasoch gennŷm pa fôdd a dylech rodio a bodloni Duw, ar i chwi gynnyddu fwŷ fwŷ. Canŷs chwi a wŷddoch pa orchymmynion a roddasom i chwi, trwŷ'r Arglwŷdd Jesu. Canŷs hŷn

ŷw

ŷw ewyllys Duw, sef eich sancteiddiad chwi, ar ymgadw o honoch rhag godineb: A'r fedru o bôb un o honoch feddiannu ei lestr ei hun mewn sancteiddrwydd, a pharch: Nid mewn gwŷn trachwant, megis y Cenhedloedd y rhai nid adwaenant Dduw: Na byddo i nêb orthrymmu na thwyllo ei frawd mewn dim: canys dialudd ŷw'r Arglwydd ar y rhai hŷn ôll, megis a dywedasom i chwi o'r blaen, ac a tystiasom. Canys ni alwodd Duw nyni i aflendid, ond i sancteiddrwydd. Am hynny, y nêb sŷdd yn dirmygu, nid dŷn a mae yn ei ddirmygu, ond Duw, yr hwn hefyd a roddes ei Yspryd glân ynom ni.

*Yr Efengyl. S. Matthew.* 15. 21.

A'R Jesu a aeth oddiyno, ac a giliodd i duedda Tyrus a Sidon. Ac wele, gwraig o Ganaan a ddaeth o'r parthau hynny, ac a lefodd, gan ddywedyd wrtho, Trugarhâ wrthif, O Arglwydd, Fâb Dafydd, I mae fy merch yn ddrwg ei hwyl gan gythrael. Ond nid attebodd efe iddi un gair. A daeth ei ddyscyblion atto, ac a attolygasant iddo, gan ddywedyd, Gollwng hi ymaith, canys i mae hi yn llefain ar ein hôl. Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, Ni'm danfonwyd i ond at ddefaid colledig Tŷ Israel. Ond hi a ddaeth, ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd cymmorth fi. Ac efe a attebodd, ac a ddywedodd, Nid dâ cymmeryd bara y plant, a'i fwrw i'r cŵn. Hitheu a ddywedodd, Gwîr ŷw Arglwydd: canys mae'r cŵn yn bwyta o'r briwsion sŷ'n syrthio oddiar fwrdd eu harglwyddi, Yna yr attebodd yr Jesu, ac a ddywedodd wrthi, Ha wraig, mawr ŷw dy ffydd: bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio. A'i merch a iachawyd o'r awr honno allan.

---

*Y trydydd Sûl o'r Grawys.*

*Y Colect.*

NI a attolygwn i ti, Hollalluog Dduw, edrych o honot ar ddeisyfiadau dy ufudd weision, ac estyn ddeheu law dy fawredd i fôd yn ymwared i ni yn erbyn ein gelynion, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Yr Epistol. Ephesiaid.* 5. 1.

BYddwch gan hynny ddilynwyr Duw, fel plant anwyl: A rhodiwch mewn cariad, megis a carodd Crist ninnau, ac a'i rhoddodd ei hun trosom ni yn offrwm ac yn aberth i Dduw, o arogl peraidd. Eithr godineb, a phôb aflendid, neu gybydd-dra, na henwer chwaith yn eich plith, megis a gweddei i Sainct: Na serthedd, nac ymadrodd ffôl, na choeg-ddigrifwch, pethau nid ydynt weddus: ond yn hyttrach rhoddi diolch. Canys yr ydych chwi yn gwybod hyn, am bôb putteiniwr, neu aflan, neu gybydd, yr hwn sŷdd ddelwaddolwr, nad oes iddynt etifeddiaeth yn Nheyrnas Crist a Duw. Na thwylled nêb chwi a geiriau ofer: Canys oblegid y pethau hŷn a mae digofaint Duw yn dyfod ar blant yr anufudd-dod. Na fyddwch gan hynny gyfrannogion a hwynt. Canys yr oeddych chwi gynt yn dywyllwch, ond yrawron goleuni ydych yn yr Arglwydd: rhodiwch fel plant y goleuni, ( Canys ffrwyth yr Yspryd sŷdd ymhôb daioni, a chyfiawnder, a gwirionedd ) Gan brofi bêth sŷdd gymmeradwy gan yr Arglwydd. Ac na fydded i chwi gydgyfeillach a gweithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch, ond yn hytrach argyoeddwch hwynt. Canys brwnt ŷw adrodd y pethau a wneir ganddynt hwy yn ddirgel. Ond pôb pêth, wedi'r argyoedder, a eglurir gan y goleuni: canys bêth bynnag sŷdd yn egluro, goleuni ŷw. O herwydd pa ham a mae efe yn dywedyd, Deffro di yr hwn wyt yn cyscu, a chyfod oddiwrth y meirw; a Christ a oleua i ti.

*Yr Efengyl. S. Luc.* 11. 14.

YR Jesu oedd yn bwrw allan gythrael, a hwnnw oedd fud: a bu wedi i'r cythrael fyned allan, i'r mudau lefaru: a'r bobloedd a ryfeddasant. Ond rhai o honynt a ddywedasant, Trwy Beelzebub pennaeth y cythreuliaid a mae efe yn bwrw allan gythreuliaid. Ac eraill gan ei demptio, a geisiasant ganddo arwydd o'r nêf. Yntef yn gwybod eu meddyliau hwynt, a ddywedodd wrthynt, Pôb teyrnas wedi ymrannu yn ei herbyn ei hun, a anghyfanneddir: a thŷ yn erbyn tŷ, a syrth. Ac os Satan

heſŷd a ſŷdd wedi ymrannu yn ei erbŷn ei hun, pa fôdd a ſaif ei deŷrnas ef? Gan eich bôd yn dywedŷd, mai trwŷ Beelzebub yr wŷſi yn bwrw allan gythreuliaid. Ac os trwŷ Beelzebub yr wŷſi yn bwrw allan gythreuliaid, trwŷ bwŷ a mae eich plant chwi yn eu bwrw hwŷnt allan? am hynnŷ a byddant hwŷ yn farn-wŷr arnoch chwi. Ond os myfi trwŷ fŷs Duw, ydwŷf yn bwrw allan gythreuliaid, diammeu ddyfod Teŷrnas Dduw attoch chwi. Pan fyddo un crŷf arfog yn cadw ei neuadd, i mae yr hŷn ſŷdd ganddo mewn heddwch. Ond pan ddêl un cryfach nag ef arno, a'i orchfygu, efe a ddwŷg ymaith ei hôll arfogaeth ef, yn yr hon yr oedd yn ymddiried, ac a ran ei anrhaith ef. Y nêb nid ŷw gyda mi, ſŷdd yn fy erbŷn: a'r nêb nid ŷw yn caſclu gyda mi, ſŷdd yn gwaſcaru. Pan êl yr Yſprŷd aflan allan o ddŷn, efe a rodia mewn lleoedd ſychion, gan geiſio gorphwŷſdra: a phrŷd na chaffo, efe a ddywed, Mi a ddychwelaf i'm tŷ o'r llê a daethum allan. A phan ddêl, i mae yn ei gael wedi ei yſcubo a'i drefnu: Yna yr â efe ac a cymmer atto ſaith yſprŷd eraill gwaeth nag ef ei hun; a hwŷ a ânt i mewn, ac a arhoſſant yno: a diwedd y dŷn hwnnw ſŷdd gwaeth na'i ddechreuad. A bu fel yr oedd efe yn dywedŷd hŷn, rhŷw wraig o'r dyrfa a gododd ei llêf, ac a ddywedodd wrtho, Gwŷn ei fŷd y grôth a'th ddŷg di, a'r bronnau a ſugnaiſt. Ond efe a ddywedodd, Yn hytrach Gwŷn eu bŷd y rhai ſŷdd yn gwrando gair Duw, ac yn ei gadw.

### *Y pedwaredd* Sûl *o'r* Grawŷs.

### *Y Colect.*

CAniadhâ, ni attolygwn i ti Hollalluog Dduw, fôd i ni y rhai a haeddaſom gael ein poeni am ein drŵg weithredoedd, trwŷ gonffordd dy râd ti allu yn drugarog gael hawſhâd, trwŷ ein Harglwŷdd a'n iachawdwr Jeſu Griſt. *Amen.*

### *Yr Epiſtol. Galatiaid;* 4. 21.

DYwedwch i mi y rhai ydŷch yn chwennŷch bôd tan y ddeddf, onid ydŷch chwi yn clywed y Ddeddf? Canŷs i mae yn Scrifennedig fôd i Abraham ddau fâb: un o'r waſanaeth ferch, ac un o'r wraig rŷdd. Ond yr hwn oedd o'r waſanaeth-ferch, a aned yn ôl y cnawd: a'r hwn oedd o'r wraig rŷdd, trwŷ'r addewid. Yr hŷn bethau ydŷnt mewn cyffelybiaeth: canŷs y rhai hŷn ŷw y ddau Deſtament, un yn ddiau o fynŷdd Sina, yn cenhedlu i gaethiwed, yr hon ŷw Agar: Canŷs yr Agar ymma ŷw mynŷdd Sina yn Arabia; ac i mae yn cyfatteb i'r Jeruſalem ſŷdd yn awr, ac i mae yn gaeth hi a'i phlant. Ond y Jeruſalem honno uchod, ſŷdd rŷdd, yr hon ŷw ein mam ni ôll. Canŷs ſcrifennedig ŷw, Llawenha di yr ammhlantadwŷ, yr hon nid wŷt yn heppilio: torr allan a llefa, yr hon nid wŷt yn eſcor: canŷs i'r unig i mae llawer mwŷ o blant nag i'r hon a mae iddi ŵr. A ninnau frodŷr, megis yr oedd Iſaac, ydŷm blant yr addewid. Ond megis y prŷd hynnŷ, yr hwn a anwŷd yn ôl y cnawd a erlidiai yr hwn a anwŷd yn ôl yr Yſprŷd; fellu yr awr hon hefŷd. Ond bêth a mae'r Scrythŷr yn ei ddywedŷd? Bwrw allan y waſanaethferch a'i mâb; canŷs ni chaiff mâb y waſanaethferch etifeddu gyda mâb y wraig rŷdd. Fellu frodŷr, nid plant i'r waſanaethferch ydŷm, ond i'r wraig rŷdd.

### *Yr Efengŷl. S. Joan.* 6. 1.

YR Jeſu a aeth tros fôr Galilea, hwnnw ŷw môr Teiberias. A thyrfa fawr a'i canlynodd ef, canŷs hwŷ a welſent ei arwŷddion, y rhai a wnaethei efe ar y cleifion. A'r Jeſu a aeth i fynu i'r mynŷdd, ac a eiſteddodd yno gyda'i ddyſcyblion. A'r Paſc, gwŷl yr Iddewon oedd yn agos. Yna'r Jeſu a dderchafodd ei lygaid, ac a welodd fôd tyrfa fawr yn dyfod atto, ac a ddywedodd wrth Philip, O ba lê a prynwn ni fara, fel a caffo y rhai hŷn fwŷdta? (A hŷn a ddywedodd efe iw brofi ef: canŷs efe a wŷddei bêth yr oedd efe ar fedr i wneuthur) Philip a'i hattebodd ef, Gwerth dau can ceiniog o fara nid ŷw ddigon iddŷnt hwŷ, fel a gallo pôb un o honŷnt gymmerŷd ychydig. Un o'i ddyſcyblion a ddywedodd wrtho, (Andreas brawd Simon Peter,) i mae ymma rŷw fachgennŷn, a chanddo bum torth haidd, a dau byſcodŷn: ond beth ŷw hynnŷ rhwng cynnifer? A'r Jeſu a ddywedodd,

perwch i'r dynnion eistedd i lawr. Ac yr oedd glâs-wellt lawer yn y fan honno. Fellu y gwŷr a eisteddasant i lawr, ynghŷlch pum mil o nifer. A'r Jesu a gymmerth y torthau, ac wedi iddo ddiolch, efe a'u rhannodd i'r dyscyblion, a'r dyscyblion i'r rhai oedd yn eistedd: fellu hefŷd o'r pyscod, cymmaint ag a fynnasant. Ac wedi eu digoni hwŷnt, efe a ddywedodd wrth ei ddyscyblion, Cesclwch y briwfwŷd a gweddill, fel na choller dim. Am hynnŷ hwŷ a'i casclasant, ac a lanwasant ddeuddeg basced a'r briwfwŷd, o'r pum torth haidd, a weddillasei gan y rhai a fwŷdtasent. Yna y dynnion, pan welsant yr arwŷdd a wnaethei'r Jesu, a ddywedasant, Hwn yn ddieu ŷw y Prophwŷd oedd ar ddyfod i'r bŷd.

*Y pummed Sûl o'r Grawŷs.*

*Y Colect.*

NI attolygwn i ti Holl-alluog Dduw, edrŷch o honot yn drugarog ar dy bobl: fel a bo iddŷnt trwŷ dy fawr ddaioni, gael bŷth eu llyfodraethu a'u cadw mewn enaid a chorph, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

*Yr Epistol. Hebreaid. 9. 11.*

CRist wedi dyfod yn Arch-offeiriad y daionus bethau a fyddent, trwŷ Dabernacl mwŷ a pherffeithiach, nid o waith llaw, hynnŷ ŷw, nid o'r adeiladaeth ymma, Nid chwaith trwŷ waed geifr a lloi, ond trwŷ ei waed ei hun yr aeth efe unwaith i mewn i'r Gyssegr, gan gael i ni dragywŷddol ryddhâd. Oblegid os ydŷw gwaed teirw a geifr. a lludw anner wedi ei daenellu ar y rhai a halogwŷd, yn sancteiddio i bureiddiad y cnawd, Pa faint mwŷ a bŷdd i waed Crist (yr hwn trwŷ yr Yspryd tragywŷddol a'i hoffrymmodd ei hun yn ddifai i Dduw,) buro eich cydwŷbod chwi oddiwrth weithredoedd meirwon, i wasanaethu y Duw bŷw? Ac am hynnŷ i mae efe yn Gyfryngwr y Cyfammod newŷdd, megis trwŷ fôd marwolaeth yn ymwared oddiwrth y trosseddau oedd tan y Cyfammod cyntaf, a cai y rhai a alwŷd dderbŷn addewid yr etifeddiaeth dragywŷddol.

*Yr Efengŷl. S. Joan. 8. 46*

PWŷ o honoch a'm hargyoedda i o bechod? ac od wŷfi yn dywedŷd y gwir, pa ham nad ydŷch yn credu i mi? Y mae yr hwn sŷdd o Dduw, yn gwrando geiriau Duw; am hynnŷ nid ydŷch chwi yn eu gwrando, am nad ydŷch o Dduw. Yna'r attebodd yr Iddewon, ac a dywedasant wrtho ef, Ond dâ yr ydŷm ni yn dywedŷd, mai Samaritan wŷt ti, a bôd gennit gythrael? Yr Jesu a attebodd, Nid oes gennif gythrael, ond yr wŷfi yn anrhydeddu fy Nhâd, ac yr ydŷch chwithau yn fy ni-anrhydŷddu inneu. Ac nid wŷfi yn ceisio fy ngogoniant fy hun: I mae un a'i cais ac a farna. Yn wir, yn wîr, meddaf i chwi, os ceidw nêb fy ymadrodd i, ni wêl efe farwolaeth yn dragywŷdd. Yna a dywedodd yr Iddewon wrtho, Yn awron a gwŷddom fôd gennit gythrael: bu Abraham farw, a'r Prophwŷdi, ac meddi di, Os ceidw nêb fy ymadrodd i, nid archwaetha efe farwolaeth yn dragywŷdd. Ai mwŷ wŷt ti nag Abraham ein tâd ni, yr hwn a fu farw? a'r Prophwŷdi a fuant feirw: pwŷ yr wŷt ti yn dy wneuthur dy hun? Yr Jesu a attebodd, Os myfi am gogonedda fy hun, fy ngogoniant i nid ŷw ddim: fy Nhâd ŷw'r hwn sŷdd yn fy ngogoneddu i, yr hwn yr ydŷch chwi yn dywedŷd mai eich Duw chwi ŷw. Ond nid adnabuoch chwi ef: ond myfi a'i hadwaen ef: ac os dywedaf nad adwaen ef, myfi a fyddaf debŷg i chwi yn gelwŷddog: ond mi a'i hadwaen ef, ac yr wŷf yn cadw ei ymadrodd ef. Gorfoledd oedd gan eich tâd Abraham weled fy nŷdd i: ac efe a'i gwelodd hefŷd ac a lawenychodd. Yna a dywedodd yr Iddewon wrtho, Nid wŷt ti ddeng mlwŷdd a deugain etto, ac a welaist di Abraham? Yr Jesu a ddywedodd wrthŷnt, Yn wir, yn wîr, meddaf i chwi, cŷn bôd Abraham, yr wŷfi. Yna hwŷ a godasant gerrig iw taflu atto ef. Ar' Jesu a ymguddiodd, ac a aeth allan o'r Deml.

*Y Sûl nesaf oslaen y Pasc.*

*Y Colect.*

HOll-gyfoethog a thragywŷddol Dduw, yr hwn o'th garedigol serch ar ddŷn, a ddanfonaist dy Fâb ein Iachawdwr Jesu

Grist i gymmeryd arno ein cnawd, ac i ddioddef angeu ar y groes, fel a gallai bôb rhyw ddyn ddilyn esampl ei fawr ostyngeiddrwydd ef; Caniadhâ o'th drugaredd fod i ni ganlyn esampl ei ddioddefaint, a bod yn gyfrannogion o'i gyfodiad, trwy yr unrhyw Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Y Epistol. Philemon.* 2. 5.

BYdded ynoch y meddwl ymma, yr hwn oedd hefyd yng Hrist Jesu. Yr hwn ac efe yn ffurf Duw, ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch a Duw. Ond efe a'i dibrisiodd ei hun, gan gymmeryd arno agwedd gwâs, ac a wnaed mewn cyffelybiaeth dynnion. A'i gael mewn dull fel dyn, efe a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd angeu, ie hyd angeu'r groes. O herwydd pa ham Duw a'i tradderchafodd yntef, ac a roddodd iddo Enw, yr hwn sydd goruwch pob enw. Fel yn Enw Jesu y plygeu pob glin o'r nefolion, a'r daiarolion, a than ddaiarolion bethau. Ac a cyffesei pob tafod fod Jesu Grist, yn Arglwydd, er gogoniant i Dduw'r Tâd.

*Yr Efengyl. S. Matthew.* 27. 1.

APhan ddaeth y boreu, cyd-ymgynghorodd yr hôll Arch-offeiriaid, a Henuriaid y bobl, yn erbyn yr Jesu, fel a rhoddent ef i farwolaeth. Ac wedi iddynt ei rwymo, hwy a'i dygasant ef ymaith, ac a'i traddodasant ef i Pontius Pilat y rhaglaw. Yna pan weleu Judas, yr hwn a'i bradychodd ef, ddarfod ei gondemnio ef, bu edifar ganddo, ac a ddug drachefn y dêg ar hugain arian i'r Arch-offeiriaid, a'r Henuriaid. Gan ddywedyd, pechais gan fradychu gwaed gwirion. Hwythau a ddywedasant, Pa bêth yw hynny i ni? edrych di at hynny. Ac wedi iddo daflu'r arian yn y Deml, efe a ymadawodd ac a aeth, ac a ymgrogodd. A'r Arch-offeiriaid a gymerasant yr arian, ac a ddywedasant, Nid cyfreithlawn i ni eu bwrw hwynt yn y dryssorfa: canys gwerth gwaed ydyw. Ac wedi iddynt gyd-ymgynghori, hwy a brynasant a hwynt faes y crochanydd, yn gladdfa dieithraid. Am hynny a galwyd y maes hwnnw, Maes y gwaed hyd heddyw. (Yna a cyflawnwyd yr hyn a ddywedwyd trwy Jeremias y prophwyd, gan ddywedyd, A hwy a gymmerasant y dêg ar hugain arian, prîs y prisiedig, yr hwn a brynasant gan feibion Israel. Ac a'u rhoesant hwy am faes y crochanydd, megis a gosododd yr Arglwydd i mi.) A'r Jesu a safodd ger bron y rhaglaw: a'r rhaglaw a ofynnodd iddo, gan ddywedyd, ai ti yw Brenin yr Iddewon? A'r Jesu a ddywedodd wrtho, Yr wyt ti yn dywedyd. A phan gyhuddid ef gan yr Arch-offeiriaid a'r Henuriaid, nid attebodd efe ddim. Yna a dywedodd Pilat wrtho, Oni chlywi di faint o betheu a maent hwy yn eu tystiolaethu yn dy erbyn di? Ac nid attebodd efe iddo un gair: fel a rhyfeddodd y rhaglaw yn fawr. Ac ar yr wŷl honno yr arferei y rhaglaw ollwng yn rhydd i'r bobl un carcharor, yr hwn a fynnent. Ac yna yr oedd ganddynt garcharor hynod, a elwid Barabbas. Wedi iddynt gan hynny ymgasclu ynghyd, Pilat a ddywedodd wrthynt, Pa un a fynnwch i mi ei ollwng yn rhydd i chwi? Barabbas, ai yr Jesu, yr hwn a elwir Crist? Canys efe a wyddeu mai o genfigen a traddodasent ef. Ac efe yn eistedd ar yr orsedd-faingc, ei wraig a ddanfonedd atto, gan ddywedyd, Na fydded i ti a wnelych a'r cyfiawn hwnnw: canys goddefais lawer heddyw mewn breuddwyd o'i achos ef: A'r Arch-offeiriaid a'r Henuriaid a berswadiasant y bobl, fel a gofynnent Barabbas, ac a difethent yr Jesu. A'r rhaglaw a attebodd, ac a ddywedodd wrthynt, Pa un o'r ddau a fynnwch i mi ei ollwng yn rhydd i chwi? Hwythau a ddywedasant, Barabbas. Pilat a ddywedodd wrthynt, Pa bêth gan hynny a wnâf i'r Jesu, yr hwn a elwir Crist? Hwythau oll a ddywedasant wrtho, Croeshoelier ef. A'r rhaglaw a ddywedodd, Ond pa ddrwg a wnaeth efe? Hwythau a lefasant yn fwy, gan ddywedyd, Croeshoelier ef. A Philat, pan welodd nad oedd dim yn tyccio, ond yn hytrach bod cynnwrf, a gymmerth ddwfr, ac a olchodd ei ddwylo ger bron y bobl, gan ddywedyd, Di-euog ydwyf fi oddiwrth waed y cyfiawn hwn, edrychwch chwi. A'r hôll bobl a attebasant, ac a ddywedasant, Bydded ei waed ef arnom

ni,

ni, ac ar ein plant. Yna a gollyngodd efe Barabbas yn rhŷdd iddŷnt: ond yr Jesu a fflangellodd efe, ac a'i rhoddodd iw groeshoelio. Yna mil-wŷr y rhaglaw a gymmerasant yr Jesu i'r dadleu dy, ac a gynnullasant atto yr hôll fyddin. A hwŷ a'i diosgasant ef, ac a roesant amdano fantell o scarlat. A chwedi iddŷnt blethu coron o ddrain, hwŷ a'i gosodasant ar ei ben ef, a chorsen yn ei law ddeheu, ac a blygasant eu gliniau ger ei fron ef, ac a'i gwatwarasant, gan ddywedŷd, Henffŷch well, Brenin yr Iddewon. A hwŷ a boerasant arno, ac a gymmerasant y gorsen, ac a'i tarawsant ef ar ei ben. Ac wedi iddŷnt ei watwar, hwŷ a'i diosgasant ef o'r fantell, ac a'i gwiscasant a'i ddillad ei hun, ac a'i dygasant ef ymaith i'w groeshoelio. Ac fel yr oeddŷnt yn myned allan, hwŷ a gawsant ddŷn o Cyréne, a'i enw Simon, hwn a gymmellasant i ddwŷn ei groes ef. A phan ddaethant i lê a elwid y Golgotha, yr hwn a elwir Lle'r benglog. Hwŷ a roesant iddo iw yfed finegr yn gymmyscedig a bustl; ac wedi iddo ei brofi, ni fynnodd efe yfed. Ac wedi iddŷnt ei groeshoelio ef, hwŷ a rannasant ei ddillad, gan fwrw coel-bren: er cyflawni y pêth a ddywedwŷd trwŷ'r prophwŷd, hwŷ a rannasant fy nillad yn eu plith, ac ar fy ngwisg a bwriasant goel-bren. A chan eistedd hwŷ a'i gwiliasant ef yno. A gosodasant hefŷd uwch ei ben ef, ei achos yn scrifennedig, HWN YW JESU, BRENIN YR IDDEWON. Yna croeshoeliwŷd gydag ef ddau leidr, un ar y llaw ddeheu, ac un ar yr asswŷ. A'r rhai oedd yn wyned heibio a'i cablasant ef, gan yscwŷd eu pennau. A dywedŷd, Ti yr hwn a ddinistri'r Deml, ac a'i hadeiledi mewn tridiau, gwared dy hun: os ti ŷw Mâb Duw, discŷn oddiar y groes. A'r un môdd yr Arch-offeiriaid hefŷd, gan watwar, gyda'r Scrifennyddion a'r Henuriaid, a ddywedasant. Efe a waredodd eraill, ei hunan ni's gall efe ei waredu: os Brenin Israel ŷw, descynned yr awron oddiar y groes, ac ni a gredwn iddo. Ymddiriedodd yn Nuw: gwareded efe ef yrawron, os efe a'l mŷn ef: canŷs efe a ddywedodd, Mâb Duw ydwŷf. A'r un pêth hefŷd a edliwiodd y lladron iddo, y rhai a groeshoeliasid gydag ef. Ac o'r chweched awr bu tywŷllwch ar yr hôll ddaiar, hŷd y nawfed awr. Ac ynghŷlch y nawfed awr a llefodd yr Jesu a llêf uchel, gan ddywedŷd, Eli, Eli, Lama Sabachthani? hynnŷ ŷw, Fy Nuw, fy Nuw, paham i'm gadewaist? A rhai o'r sawl oedd yn sefŷll yno, pan glywsant, a ddywedasant, i mae hwn yn galw am Elias. Ac yn y fan un o honŷnt a redodd, ac a gymmerth yspwrn, ac a'i llanwodd o finegr, ac a'i rhoddes ar gorsen, ac a'i diododd ef. A'r llaill a ddywedasant, Paid, edrychwn a ddaw Elias iw waredu ef. A'r Jesu, wedi llefain drachefn a llêf uchel, a ymadawodd a'r yspryd. Ac wele, llen y Deml a rwŷgwŷd yn ddau, oddifnu hŷd i wared: a'r ddaiar a grynodd, a'r meini a holltwŷd. A'r beddau a agorwŷd: a llawer o gŷrph y Sainct a hunasent, a gyfodasant. Ac a ddaethant allan o'r beddau ar ôl ei gyfodiad ef, ac a aethant i mewn i'r ddinas sanctaidd, ac a ymddangosasant i lawer. Ond y canwriad, a'r rhai oedd gydag ef yn gwilied yr Jesu, wedi gweled y ddaiargrŷn, a'r pethau a wnaethid, a ofnasant yn fawr, gan ddywedŷd, Yn wîr Mâb Duw ydoedd hwn.

---

*Y Dŷdd llûn nesaf o flaen y Pasc.*

*Yn llê yr Epistol. Isaia. 63. 1.*

PWŷ ŷw hwn yn dyfod o Edom, yn gôch ei ddillad o Bozra? hwn sŷdd hardd yn ei wisc, yn ymdaith yn amlder ei rŷm? myfi, yr hwn a lefaraf mewn cyfiawnder, ac a wŷf gadarn i iachau. Paham yr ydwŷt yn gôch dy ddillad, a'th wiscoedd fel hwn a sathrei mewn gwinwrŷf? Sethrais y gwinwrŷf fy hunan, ac o'r bobl nid oedd un gyda mi; canŷs mi a'u sathraf hwŷnt yn fy nig, ac a'u mathraf hwŷnt yn fy llidiawgrwŷdd; a'u gwaed hwŷnt a daenellir ar fy nillad, a'm hôll wiscoedd a lychwinaf. Canŷs dŷdd dial sŷdd yn fy nghalon, a blwŷddŷn fy ngwaredigion a ddaeth. Edrychais hefŷd, ac nid oedd gynnorthwŷwr; rhyfeddais hefŷd am nad oedd gynnhaliwr, yna fy mraich fy hun a'm hachubodd, a'm

llidiawg-

llidiawgrwydd a'm cynhaliodd. Ac mi a sathraf y bobl yn fy nig, ac a'u meddwaf hwynt yn fy llidiawgrwydd; a'u cadernid a ddescynnaf i'r llawr. Cofiaf drugareddau yr Arglwydd, a moliant Duw, yn ol yr hyn oll a roddodd Duw i ni, ag amlder ei ddaioni i dy Israel, yr hyn a roddodd efe iddynt yn ol ei dosturiaethau, ac yn ol amlder ei drugareddau. Canys efe a ddywedodd, diau fy mhobl ydynt hwy, meibion ni ddywedant gelwydd; fellu efe a aeth yn iachawdwr iddynt. Yn eu holl gystudd hwynt, efe a gystuddiwyd, ac Angel ei gydrycholdeb a'u hachubodd hwynt; yn ei gariad, ac yn ei drugaredd a gwaredodd efe hwynt: Efe a'u dygodd hwynt, ac a'u harweiniodd yr holl ddyddiau gynt. Hwythau oeddynt wrthryfelgar, ac a ofidiasant ei Yspryd sanctaidd ef; am hynny a trodd efe yn elyn iddynt, ac yr ymladdodd yn eu herbyn. Yna a cofiodd efe y dydddiau gynt, Moses a'i bobl, gan ddywedyd, mae'r hwn a'u dygodd hwynt i fynu o'r mor, gyda bugail ei braidd? mae'r hwn a osododd ei Yspryd sanctaidd o'i fewn ef. Yr hwn a'i tywysodd hwynt a deheu-law Moses, ac a'i ogoneddus fraich, gan hollti y dyfroedd o'u blaen hwynt, i wneuthur iddo ei hun enw tragywyddol; Yr hwn ai harweiniodd hwynt trwy y dyfnderau, fel march yn yr anialwch, fel na thramgwyddent? Fel a descyn anifail i'r dyffryn, a gwna Yspryd yr Arglwydd iddo orphwys: fellu a twysaist dy bobl, i wneuthur it enw gogoneddus. Edrych o'r nefoedd, a gwel; o annedd dy sancteiddrwydd, a'th ogoniant: mae dy zel, a'th gadernid, lluosogrwydd dy dosturiaethau, a'th drugareddau tuag attafi? a ymattaliasant? Canys ti yw ein Tad ni, er nad edwyn Abraham ni, ac na'n cydnebydd Israel; ti Arglwydd yw ein Tad ni, ein gwaredydd; dy enw sydd erioed. Paham Arglwydd a gwnaethost i ni gyfeiliorni allan o'th ffyrdd? ac a caledaist ein calonnau oddiwrth dy ofn? dychwel er mwyn dy weision, llwythau dy etifeddiaeth. Tros ychydig ennyd a meddiannodd dy bobl sanctaidd, ein gwrthwynebwyr a sathrasant dy gyssegr di. Nyni ydym eiddo ti, erioed ni buost yn Arglwyddiaethu arnynt hwy, ac ni elwid dy enw arnynt.

*Yr Efengyl. S. Marc. 14. 1.*

AC wedi deu-ddydd yr oedd y Pasc, a gwyl y bara croyw: a'r Arch-offeiriaid a'r Scrifennyddion a geisiasant pa fodd a dalient ef trwy dwyll, ac a lladdent ef. Eithr dywedasant, Nid ar yr wyl, rhag bod cynnwrf ymhlith y bobl. A phan oedd efe yn Bethania, yn nhy Simon y gwahanglwyfus, ag efe yn eistedd i fwydta, daeth gwraig a chanddi flwch o ennaint, o nard gwlyb gwerth-fawr, a hi a dorrodd y blwch, ac a'i tywalltodd ar ei ben ef. Ac yr oedd rhai yn anfodlon ynddynt eu hunain, ac yn dywedyd, I ba beth a gwnaethwyd y golled hon o'r ennaint? Oblegid fe allasid gwerthu hwn uwchlaw trichan ceiniog, a'u rhoddi i'r tylodion. A hwy a ffrommasant yn ei herbyn hi. A'r Jesu a ddywedodd, Gadewch iddi, pa ham a gwnewch flinder iddi? hi a wnaeth weithred dda arnafi. Canys bob amser a cewch y tylodion gyda chwi, a phan fynnoch gellwch wneuthur da iddynt hwy: ond myfi ni chewch bob amser. Hyn a allodd hon, hi a'i gwnaeth: hi a achubodd y blaen i eneinio fy nghorph erbyn y claddedigaeth. Yn wir meddaf i chwi, pa le bynnag a pregether yr Efengyl hon, yn yr holl fyd, yr hyn a wnaeth hon hefyd a adroddir er coffa amdani. A Judas Iscariot, un o'r deuddeg, a aeth ymmaith at yr Arch-offeiriaid, iw fradychu ef iddynt. A phan glywsant, fe fu lawen ganddynt, ac a addawsant roi arian iddo. Yntef a geisiodd pa fodd a gallai yn gymmwys ei fradychu ef. A'r dydd cyntaf o wyl y bara croyw, pan aberthent y Pasc, dywedodd ei ddiscyblion wrtho; I ba le yr wyt ti yn ewyllysio i ni fyned i barodtoi i ti, i fwydta y Pasc? Ac efe a anfonodd ddau o'i ddyscyblion, ac a ddywedodd wrthynt, Ewch i'r ddinas, a chyfarfydd a chwi ddyn yn dwyn stenaid o ddwfr; dilynwch ef. A pha le bynnag yr el i mewn, dywedwch wrth wr y ty, Fod yr Athro yn dywedyd, Pa le a mae'r llettty, lle a gallwyf mi a'm dyscyblion, fwydta'r Pasc? Ac efe a ddengys i chwi, oruwch-stafell fawr

fawr wedi ei thanu yn barod: yno paratowch i ni. A'i ddyscyblion a aethant, ac a ddaethant i'r ddinas, ac a gawsant megis a dywedasei efe wrthŷnt, ac a barodtoesant y Pasc. A phan aeth hiyn hŵyr, efe a ddaeth gyda'r deuddeg. Ac fel yr oeddŷnt yn eistedd, ac yn bwŷdta, yr Jesu a ddywedodd, Yn wir meddaf i chwi, un o honoch, yr hwn sŷdd yn bwŷdta gyda myfi, a'm bradycha i. Hwŷthau a ddechreuasant dristhau, a dywedŷd wrtho bób un ac un, Ai myfi? ac arall, Ai myfi? Ac efe a attebodd ac a ddywedodd wrthŷnt, Un o'r deuddeg, yr hwn sŷdd yn gwlychu gyda mi yn y ddyscl ŷw efe. Mâb y dŷn yn wir sŷdd yn myned ymaith, fel a mae yn scrifennedig amdano: ond gwae'r dŷn hwnnw trwŷ'r hwn a bradychir Mâb y dŷn: dâ a fuasai i'r dŷn hwnnw pe nas ganesid. Ag fel yr oeddŷnt yn bwŷdta, yr Jesu a gymerodd fara, ac a'i bendithiodd, ac a'i torrodd ac a'i rhoddodd iddŷnt, ac a ddywedodd, Cymmerwch, bwŷdtewch, hwn ŷw fy nghorph. Ac wedi iddo gymmerŷd y cwppan, a rhoi diolch, efe a'i rhoddodd iddŷnt: a hwŷnt ôll a yfasant o hono. Ac efe a ddywedodd wrthŷnt, Hwn ŷw fy ngwaed i o'r Testament newŷdd, yr hwn a dywelltir tros lawer. Yn wir yr wŷf yn dywedŷd wrthŷch, nad yfaf mwŷ o ffrwŷth y winwŷdden, hŷd y dŷdd hwnnw, pan yfwŷf ef yn newŷdd yn Nheŷrnas Dduw. Ac wedi iddŷnt ganu mawl, hwŷ a aethant allan i fynŷdd yr Olewŷdd. A dywedodd yr Jesu wrthŷnt, Chwi a ddifodlonir ôll o'm plegid i y nôs hon; canŷs scrifennedig ŷw, Tarawaf y bugail, a'r defaid a wascerir. Ond wedi i mi adgyfodi, mi a âf o'ch blaen chwi i Galilea. Ond Peter a ddywedodd wrtho, Pe byddai bawb wedi eu rhwŷstro, etto ni byddaf fi. A dywedodd yr Jesu wrtho, Yn wir yr ydwŷf yn dywedŷd i ti, heddŷw o fewn y nôs hon, cŷn canu o'r ceiliog ddwŷ-waith a gwedi fi deir-gwaith. Ond efe a ddywedodd yn helaethach o lawer, Pe gorfyddai i mi farw gyda thi ni'th wadaf ddim. A'r un môdd a dywedasant ôll. A hwŷ a ddaethant i lê yr oedd ei enw Gethsemane: ac efe a ddywedodd wrth ei ddyscyblion, Eisteddwch ymma tra fyddwŷf yn gweddio. Ac efe a gymmerth gydag ef Beter, ag Iaco, ac Joan, ac a ddechreuodd ymohdio a thristhau yn ddirfawr. Ac efe a ddywedodd wrthŷnt, I mae fy enaid yn athrist hŷd angeu: arhoswch ymma, a gwiliwch. Ac efe a aeth ychydig ym-mlaen, ac a syrthiodd ar y ddaiar, ac a weddiodd, o bai bossibl ar fyned yr awr honno oddiwrtho. Ac efe a ddywedodd, Abba Dád, pób pêth sŷdd bossibl i ti: trô heibio y cwppan hon oddiwrthif: ond nid y pêth yr ydwŷfi yn ei ewŷllysio, ond y pêth yr ydwŷt ti. Ac efe a ddaeth ac a'u cafodd hwŷ yn cyscu, ac a ddywedodd wrth Peter Simon, ai cyscu yr wŷti? oni allit wilio un awr? Gwiliwch a gweddiwch, rhag eich myned mewn temptasiwn: yr yspryd yn ddieu sŷdd barod; ond y cnawd sŷdd wan. Ac wedi iddo fyned ymaith drachefn, efe a weddiodd gan ddywedŷd yr un ymadrodd. Ac wedi iddo ddychwelŷd, efe a'u cafodd hwŷnt drachefn yn cyscu (canŷs yr oedd eu llygaid hwŷnt wedi trymhau) ac ni wŷddent bêth a attebent iddo. Ac efe a ddaeth y drydedd waith, ac a ddywedodd wrthŷnt, Cyscwch weithian, a gorphwŷswch: digon ŷw, daeth yr awr: wele, yr ydŷs yn bradychu Mâb y dŷn i ddwŷlo pechaduriaid. Cyfodwch, awn; wele, I mae yr hwn sŷdd yn fy mradychu yn agos. Ac yn y man, ac efe etto yn llefaru, daeth Judas, un o'r deuddeg, a chydag ef dyrfa fawr, a chleddŷfau, a ffŷnn, oddiwrth yr Arch-offeiriaid, a'r Scrifenyddion, a'r Henuriaid. A'r hwn a'i bradychodd ef a roddasai arwŷdd iddŷnt, gan ddywedŷd Pwŷ bynnag a gusanwŷf, hwnnw ŷw; deliwch ef, a dygwch ymaith yn siccr. A phan ddaeth, yn ebrwŷdd efe a aeth atto, ac a ddywedodd, Rabbi, Rabbi, ac a'i cusanodd ef. A hwŷthau a roesant eu dwŷlo arno, ac a'i daliasant ef. A rhŷw un o'r rhai oedd yn sefŷll ger llaw, a dynnodd ei gleddŷf, ac a darawodd wâs yr Archoffeiriad, ac a dorrodd ymaith ei glust ef. A'r Jesu a attebodd, ac a ddywedodd wrthŷnt, Ai megis at leidr a daethoch allan a chleddŷfau, ac a ffŷnn i'm dal i? Yr oeddwn

i beunŷdd gyda chwi yn athrawiaethu yn y Deml, ac ni'm daliasoch: ond rhaid ŷw cyflawni'r Scrythyrau. A hwŷnt ôll a'i gadawsant ef, ac a ffoesant. A rhŷw ŵr ieuangc oedd yn ei ddilŷn ef, wedi ymwisco a lliain main ar ei gorph noeth, a'r gwŷr ieuaingc a'i daliasant ef; A hwn a adawodd y lliain, ac a ffôdd oddiwrthŷnt yn noeth. A hwŷ a ddygasant yr Jesu at yr Arch-offeiriad: a'r hôll Arch-offeriaid, a'r Henuriaid, a'r Scrifennyddion, a ymgasclasant gydag ef. A Pheter a'i canlynodd ef o hirbell, hŷd yn llŷs yr Arch-offeiriad: ac yr oedd efe yn eistedd gyda'r gwasanaethwŷr, ac yn ymdwŷmno wrth y tân. A'r Arch offeiriaid, a'r hôll gyngor, a geisiasant dystiolaeth yn erbŷn yr Jesu, iw roi ef i'w farwolaeth, ac ni chawsant. Canŷs llawer a ddygasant gau dystiolaeth yn ei erbŷn ef, ond nid oedd eu tystiolaeth hwŷ yn gysson. A rhai a gyfodasant, ac a ddygasant gam-dystiolaeth yn ei erbŷn ef, gan ddywedŷd, Ni a'i clywsom ef yn dywedŷd, mi a ddinistriaf y Deml hon o waith dwŷlo, ac mewn tridiau yr adeiladaf arall, heb fôd o waith llaw. Ac etto nid oedd eu tystiolaeth hwŷ fellu yn gysson. A chyfododd yr Arch-offeiriad yn y canol, ac a ofynnodd i'r Jesu, gan ddywedŷd, oni attebi di ddim? bêth a mae y rhai hŷn yn ei dystiolaethu yn dy erbŷn? Ac efe a dawodd, ac ni attebodd ddim. Drachefn yr Arch-offeiriad a ofynnodd iddo, ac a ddywedodd wrtho, Ai tydi ŷw Crist Mâb y Bendigedig? A'r Jesu a ddywedodd, Myfi ŷw: a chwi a gewch weled Mâb y dŷn yn eistedd ar ddeheu-law y gallu, ac yn dyfod ynghymmylau y nêf. Yna'r Arch-offeiriad, gan rwŷgo ei ddillad, a ddywedodd, Pa raid i ni mwŷ wrth dystion? Chwi a glywsoch y gabledd: bêth dybygwch chwi? A hwŷnt ôll a'i condemniasant ef, ei fôd yn euog o farwolaeth. A dechreuoddd rhai boeri arno, a chuddio ei wŷneb, a'i gernodio, a dywedŷd wrtho, Prophwŷda. A'r gweinidogion a'i tarawsant ef a gwiail. Ac fel yr oedd Peter yn y llŷs i wared, daeth un o forwŷnion yr Arch-offeiriad: A phan gansu hi Beter yn ymdwŷmno, hi a edrychodd arno, ac a ddywedodd, Titheu hefŷd oeddit gyda'r Jesu o Nazareth. Ac efe a wadodd, gan ddywedŷd, Nid adwaen i ef, ac ni wn i bêth yr wŷt yn ei ddywedŷd. Ac efe aeth allan i'r porth a'r ceiliog a ganodd. A phan welodd y llangces ef drachefn, hi a ddechreuodd ddywedŷd wrth y rhai oedd yn sefŷll yno, I mae hwn yn un o honŷnt. Ac efe a wadodd drachefn. Ac ychydig wedi hynnŷ y rhai oedd yn sefŷll ger llaw a ddywedasant wrth Peter drachefn, Yn wîr yr wŷti yn un o honŷnt, canŷs Galilead wŷt, a'th leferŷdd sŷdd debŷg. Ond efe a ddechreuodd regu, a thyngu, Nid adwaen i y dŷn ymma yr ydŷch chwi yn dywedŷd amdano. A'r ceiliog a ganodd yr ail waith: a Pheter a gofiodd y gair a ddywedasei'r Jesu wrtho, Cŷn canu o'r ceiliog ddwŷ-waith, ti a'm gwedi deirgwaith. A chan ystyried hynnŷ efe a wŷlodd.

---

*Y Dŷdd mawrth nesaf oflan y Pasc.*

*Yn llê'r Epistol. Isaia. 50. 5.*

YR Arglwŷdd Dduw a agorodd fy nghlust, a minneu ni wrthwŷnebais, ac ni chiliais yn fy ôl. Fy nghorph a roddais i'r cur-wŷr, a'm cernau i'r rhai a dynnai'r blew, ni chuddiais fy wŷneb oddiwrth wradwŷdd, a phoeredd. O herwŷdd yr Arglwŷdd Dduw a'm cymmorth, am hynnŷ ni'm cywilyddir; am hynnŷ gosodais fy wŷneb fel callestr, a gwn na'm cywilyddir. Agos ŷw'r hwn a'm cyfiawnhâ, pwŷ a ymryson a mi? safwn ynghŷd, pwŷ ŷw fy ngwrthwŷnebwr? nessaed attaf. Wele'r Arglwŷdd a'm cynnorthwŷa, pwŷ ŷw'r hwn a'm bwrw yn euog? wele, hwŷnt ôll a heneiddiant fel dilledŷn, y gwŷfŷn a'u hyssa hwŷnt. Pwŷ yn eich mŷsc sŷdd yn ofni'r Arglwŷdd, yn gwrandaw ar lais ei wâs ef, yn rhodio mewn tywŷllwch ac heb lewŷrch iddo? gobeithied yn enw'r Arglwŷdd, ac ymddiried yn ei Dduw. Wele chwi ôll y rhai ydŷch yn cynneu tân, ac yn eich amgylchu eich hunain a gwreichion; rhodiwch wrth lewŷrch eich tân, ac wrth y gwreichion a gynneuasoch; o'm llaw i a bŷdd hŷn i chwi; mewn gofud a gorweddwch.

Ac wedi iddo alw atto bôb un o ddyledwŷr ei Arglwŷdd, efe a ddywedodd wrth y cyntaf, Pa faint sŷdd arnati o ddyled i'm Harglwŷdd? Ac efe a ddywedodd, Can mesur o olew. Ac efe a ddywedodd wrtho, Cymmer dy scrifen, ac eistedd ar frŷs, ac scrifenna ddêg a deugain. Yna a dywedodd wrth un arall, A pha faint o ddyled sŷdd arnat titheu? Ac efe a ddywedodd, Can mesur o wenith. Ac efe a ddywedodd wrtho, Cymmer dy scrifen, ac scrifenna bedwar ugain. A'r Arglwŷdd a ganmolodd y gorchwiliwr anghyfiawn, am iddo wneuthur yn gall: oblegid i mae plant y bŷd hwn yn gallach yn eu cenhedlaeth, na phlant y goleuni. Ac yr wŷf yn dywedŷd i chwi, Gwnewch i chwi gyfeillion o'r Mammon anghyfiawn: fel pan fo eisieu arnoch i'ch derbyniont i'r tragywŷddol bebŷll.

---

## Y degfed Sûl gwedi'r Drindod.

### Y Colect.

BYdded dy drugarog glustiau, O Arglwŷdd, yn agored i weddiau dy ufudd weision, ac fel a bô iddŷnt gael eu gofynnion, gwna iddŷnt erchi y cyfrŷw bethau ag a ryngo bôdd i ti, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

### Yr Epistol. 1 Corinthiaid. 12. 1.

AM ysprydol ddonniau frodŷr, ni fynnwn i chwi fôd heb wŷbod. Chwi a wŷddoch mai Cenhedloedd oeddŷch, yn eich arwain ymaith at yr eulŷnnod mudion, fel i'ch tywŷsid. Am hynnŷ yr wŷf yn yspysu i chwi, nad oes nêb yn llefaru trwŷ Ysprŷd Duw, yn galw yr Jesu yn escymmun bêth: ac ni all nêb ddywedŷd yr Arglwŷdd Jesu, ond trwŷ yr Ysprŷd glân. Ac a mae amrŷw ddonniau, ond yr un Ysprŷd. Ac a mae amrŷw weinidogaethau, ond yn un Arglwŷdd. Ac y mae amrŷw weithrediadau, ond yr un ŷw Duw, yr hwn sŷdd yn gweithredu pôb pêth ymmhawb. Ond eglurhâd yr Ysprŷd a roddir i bôb un er llesâd. Canŷs i un trwŷ yr Ysprŷd a rhoddir ymadrodd doethineb, ac i arall ymadrodd gwŷbodaeth, trwŷ yr un Ysprŷd. Ac i arall ffŷdd, trwŷ yr un Ysprŷd; Ac i arall ddawn i iachâu, trwŷ yr un Ysprŷd: Ac i arall wneuthur gwrthiau, ac i arall Brophwŷdoliaeth, ac i arall wahaniaeth ysprydoedd; ac i arall amrŷw dafodau, ac i arall gyfieithiad tafodau. A'r hôll bethau hŷn, a mae'r un a'r unrhŷw Ysprŷd yn eu gweithredu, gan rannu i bôb un o'r nailltu, megis a mae yn ewŷllysio.

### Yr Efengŷl. S. Luc. 19. 41.

AG wedi iddo ddyfod yn agos, pan welodd efe y ddinas, efe a wŷlodd trosti, Gan ddywedŷd, Pe gwŷbasit ditheu, ie yn dy ddŷdd hwn, y pethau a berthynent i'th heddwch: ond a maent yn awr yn guddiedig oddiwrth dy lygaid. Canŷs daw y dyddiau arnat, a'th elynion a fwriant glawdd o'th amgŷlch, ac a'th amgylchant, ac a'th warchaeant o bôb parth; Ac a'th wnânt yn gŷd-wastad a'r llawr, a'th blant o'th fewn; ac nid adawant ynot faen ar faen: o herwŷdd nad adnabuost amser dy ymweliad. Ac efe a aeth i mewn i'r Deml, ac a ddechreuodd fwrw allan y rhai oedd yn gwerthu ynddi, ac yn prynu: Gan ddywedŷd wrthŷnt, Y mae yn scrifennedig, Fy nhŷ i, tŷ gweddi ŷw: ond chwi a'i gwnaethoch yn ogof lladron. Ac yr oedd efe beunŷdd yn athrawiaethu yn y Deml.

---

## Yr unfedarddeg Sûl gwedi'r Drindod,

### Y Colect.

DUw, yr hwn wŷt yn egluro dy Hollalluog nerth, yn bennaf gan ddangos trugaredd a thosturi, yn drugarog dyro i ni y cyfrŷw fesur o'th Râs, fel y bô i ni gan redeg rhŷd ffordd dy orchymmynnion, gyrhaeddŷd dy radol addewidion, a chael ein gwneuthur yn gyfrannogion o'th nefol drysor, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

### Yr Epistol. 1 Corinthiaid. 15. 1.

YR ydwŷf yn yspysu i chwi (frodŷr) yr Efengŷl a bregethais i chwi, yr hon hefŷd a dderbyniasoch, ac yn yr hon yr ydŷch yn sefŷll, Trwŷ yr hon i'ch cedwir hefŷd, os ydŷch yn dal yn eich côf â pha

ymadrodd

ymadrodd yr efangylais i chwi, oddieithr darfod i chwi gredu yn ofer. Canŷs mi a draddodais i chwi ar y cyntaf, yr hŷn hefŷd a dderbyniais; Farw o Grîst tros ein pechodau ni, yn ôl yr Scrythyrau: A'i gladdu, a'i gyfodi y trydedd dŷdd, yn ôl yr Scrythyrau: A'i weled ef gan Cephas, yna gan y deuddeg. Wedi hynnŷ a gwêlwŷd ef gan fwŷ na phum cant brodŷr ar unwaith, o'r rhai a mae y rhan fwŷaf yn aros hŷd yr awr hon; ond rhai a hunasant. Wedi hynnŷ a gwêlwŷd ef gan Jaco, yna gan yr hôll Apostolion. Ac yn ddiweddaf oll a gwelwŷd ef gennif finneu fel gan un a anwŷd allan o amser. Canŷs myfi ŷw'r lleiaf o'r Apostolion, yr hwn nid wŷf addas i'm galw yn Apostol, am i mi erlid Eglwŷs Dduw. Ond trwŷ râs Duw yr ydwŷf yr hŷn ydwŷf; a'i râs ef, yr hwn a roddwŷd i mi, ni bu yn ofer; ond mi a lafuriais yn helaethach na hwŷnt ôll; ac nid myfi chwaith, ond grâs Duw yr hwn oedd gyda mi. Am hynnŷ pa un bynnag, ai myfi ai hwŷnt hwŷ; fellu yr ydŷm yn pregethu, ac fellu a credasoch chwi.

*Yr Efengŷl.* S. *Luc.* 18. 9.

CRist a ddywedodd y ddammeg hon hefŷd, wrth y rhai oedd yn hyderu arnŷnt eu hunain eu bôd yn gyfiawn, ac yn diystyru eraill: Dau ŵr a aethant i fynu i'r Deml i weddio: un yn Pharisead, a'r llall yn Bublican. Y Pharisead o'i sefŷll a weddiodd rhyngddo ac ef ei hun fel hŷn, O Dduw, yr wŷf yn diolch i ti nad wŷfi fel a mae dynnion eraill, yn drawsion, yn anghyfiawn, yn odinebwr; neu fel y Publican hwn chwaith. Yr wŷf yn ymprydio ddwŷwaith yn yr wŷthnos, yr wŷf yn degymmu cymmaint ôll ac a feddaf. A'r Publican gan sefŷll o hirbell, ni feiddieu gymmaint a chodi ei olwg tua'r nêf, ond efe a gurodd ei ddwŷfron, gan ddywedŷd, O Dduw bŷdd drugarog wrthif bechadur. Dywedaf i chwi, aeth hwn i wared iw dŷ, wedi ei gyfiawnhau yn fwŷ na'r llall: canŷs pôb un ag sŷdd yn ei dderchafu ei hun, a ostyngir: a phôb un ag sŷdd yn ei ostwng ei hun, a dderchefir.

## Y deuddegfed Sûl gwedi'r Drindod.

*Y Colect.*

HOllalluog a thragywŷddol Dduw, yr hwn yn wastad wŷt barodtach i wrando, na nyni i weddio, ac wŷt arferol o roddi mwŷ nag a ofynom, neu a haeddom, tywallt arnom amlder dy drugaredd, gan faddeu i ni y cyfrŷw bethau ag y mae ein cydwŷbod yn eu hofni, a dôd i ni y cyfrŷw ddaionus bethau, nad ŷm deilwng iw gofŷn, ond trwŷ haeddiad a chyfryngiad Jesu Grist dy fâb di, a'n Harglwŷdd ni. *Amen.*

*Yr Epistol.* 2 *Corinthiaid.* 3. 4.

YCyfrŷw hyder sŷdd gennŷm trwŷ Grist ar Dduw: Nid o herwŷdd ein bôd yn ddigonol o honom ein hunain, i feddwl dim megis o honom ein hunain, ond ein digonedd ni sŷdd o Dduw: Yr hwn hefŷd a'n gwnaeth ni yn weinidogion cymmwŷs y Testament newŷdd, nid i'r llythyren ond i'r Yspryd. Canŷs mae y llythyren yn lladd, ond yr Yspryd sŷdd yn bŷwhau. Ac os bu gweinidogaeth angeu mewn llythyrennau wedi eu hargraphu ar gerrig, mewn gogoniant, fel na allei plant yr Israel edrŷch yn graff yn wŷneb Moses, gan ogoniant ei wŷnebprŷd, yr hwn ogoniant a ddilewŷd: Pa fôdd yn hytrach na bŷdd gweinidogaeth yr Yspryd mewn gogoniant? Canŷs os bu gweinidogaeth damnedigaeth yn ogoniant, mwŷ o lawer a mae gweinidogaeth cyfiawnder yn rhagori mewn gogoniant.

*Yr Efengŷl.* S. *Marc.* 7. 31.

YR Jesu a aeth drachefn ymaith o dueddau Tyrus a Sidon, ac a ddaeth hŷd fôr Galilea, trwŷ ganol terfynau Decapolis. A hwŷ a ddygasant atto un byddar ac attal dywedŷd arno, ac a attolygasant iddo ddodi ei law arno ef. Ac wedi iddo i gymmerŷd ef o'r nailltu allan o'r dyrfa, efe a estynnodd ei fysedd yn ei glustiau ef, ac wedi iddo boeri, efe a gyffyrddodd a'i dafod ef. A chan edrŷch tua'r nêf, efe a ocheneidiodd, ac a ddywedodd wrtho, Ephphatha, hynnŷ ŷw, ymagor. Ac yn ebrwŷdd ei glustiau ef a agorwŷd, a rhwŷm ei dafod a ddatodwŷd,

ac efe a lefarodd yn eglur. Ac efe a waharddodd iddŷnt ddywedyd i nêb: Ond pa mwŷaf a gwaharddodd efe iddŷnt, mwŷ o lawer a cyhoeddasant. A synnu a wnaethant yn anfeidrol, gan ddywedŷd, Da a gwnaeth efe bôb pêth: I mae efe yn gwneuthur i'r byddar glywed, ac i'r mudion ddywedŷd.

Y *Trydŷdd ar ddêg* Sûl *gwedi'r* D*rindod.*

*Y Colect.*

HOll-alluog a thrugarog Dduw, o rôdd pwŷ un yn unig a daw, bôd i'th bobl ffyddlon dy wasanaethu yn gywir, ac yn foledig: Caniadhâ, ni a erfynnwn i ti, allu o honom fellu dy wasanaethu di yn y bywŷd hwn, fel na phallo gennŷm yn y diwedd fwŷnhâu dy nefol addewidion, trwŷ haeddedigaethau Jesu Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

*Yr Epistol. Galatiaid.* 3. *16.*

IAbraham a gwnaethwŷd yr addewidion, ac iw hâd ef. Nid ŷw yn dywedŷd, Ac iw hadau, megis am lawer; ond megis am un, Ac i'th hâd ti; yr hwn ŷw Crist. A hŷn yr wŷf yn ei ddywedŷd, am yr ammod a gadarnhawŷd o'r blaen gan Dduw yng Hrist, nad ŷw y Ddeddf oedd bedwar cant a dêg ar hugain o flynyddoedd gwedi, yn ei ddirymmu, i wneuthur yr addewid yn ofer. Canŷs os o'r Ddeddf a mae yr etifeddiaeth, nid ŷw mwŷach o'r addewid: ond Duw a'i rhoddodd i Abraham drwŷ addewid. Bêth gan hynnŷ ŷw'r Ddeddf? Oblegid trosseddau y rhoddwŷd hi yn ychwaneg, hŷd oni ddelei yr hâd, i'r hwn a gwnaethid yr addewid: a hi a drefnwŷd trwŷ Angelion, yn llaw Cyfryngwr. A chyfryngwr nid ŷw i un; ond Duw sŷdd un. A ydŷw y Ddeddf gan hynnŷ yn erbŷn addewidion Duw? Na atto Duw: canŷs pe rhoesid Deddf a allasei fŷwhau, yn wir o'r Ddeddf a buasai cyfiawnder. Ond cŷd-gaeodd yr Scrythŷr bôb pêth tan bechod, fel a rhoddid yr addewid trwŷ ffŷdd Jesu Grist, i'r rhai sŷ yn credu.

*Yr Efengŷl. S. Luc.* 10. 23.

GWŷn eu bŷd y llygaid sŷdd yn gweled y pethau yr ydŷch chwi yn eu gweled. Canŷs yr wŷf yn dywedŷd i chwi, ewŷllysio o lawer o brophwŷdi a brenhinoedd weled y pethau yr ydŷch chwi yn eu gweled, ac ni's gwelsant; a chlywed y pethau yr ydŷch chwi yn eu clywed, ac ni's clywsant. Ac wele, rhŷw gyfreithiwr a gododd, gan ei demptio ef, a dywedŷd, Athro, pa beth a wnâf i gael etifeddu bywŷd tragywŷddol? Yntef a ddywedodd wrtho, Pa bêth sŷdd Scrifennedig yn y gyfraith? pa fôdd a darllenni? Ac efe gan atteb a ddywedodd, Ti a geri yr Arglwŷdd Dduw a'th hôll galon, ac a'th hôll enaid, ac a'th hôll nerth, ac a'th hôll feddwl: a'th gymmydog fel di dy hun. Yntef a ddywedodd wrtho, Ti a attebaist yn uniawn: gwna hŷn, a bŷw fyddi. Ond efe, yn ewŷllysio ei gyfiawnhau ei hun, a ddywedodd wrth yr Jesu, A phwŷ ŷw fy nghymmydog? A'r Jesu gan atteb a ddywedodd, Rhŷw ddŷn oedd yn myned i wared o Jerusalem i Jericho, ac a syrthiodd ym mŷsc lladron, y rhai wedi ei ddiosc ef a'i archolli, a aethant ymaith, gan ei adael yn hanner marw. Ac ar ddamwain, rhŷw offeiriad a ddaeth i wared y ffordd honno, a phan ei gwelodd, efe a aeth o'r tu arall heibio. A'r un ffunŷd lefiad hefŷd, wedi dyfod i'r fan, a'i weled ef, aeth o'r tu arall heibio. Ond rhŷw Samariad wrth ymdaith, a ddaeth atto ef, a phan ei gwelodd, a dosturiodd: Ac a aeth atto, ac a rwŷmodd ei archollion ef, gan dywallt ynddŷnt olew a gwîn: ac a'i gosododd ef ar ei anifail ei hun, ac a'i dug ef i lettŷ, ac a'i hymgleddodd. A thrannoeth wrth fyned ymmaith, efe a dynnodd allan ddwŷ geiniog, ac a'u rhoddodd i'r llettŷ-ŵr, ac a ddywedodd wrtho, Cymmer ofal trosto: a pha bêth bynnag a dreuliech yn ychwaneg, pan ddelwŷf drachefn mi a'i talaf i ti. pwŷ gan hynnŷ o'r tri hŷn yr ydwŷt ti yn tybied ei fôd yn gymmydog i'r hwn a syrthiasai ymmhlith y lladron? Ac efe a ddywedodd, Yr hwn a wnaeth drugaredd ag ef. A'r Jesu am hynnŷ a ddywedodd wrtho, Dôs, a gwna ditheu yr un môdd.

## Y pedwaredd ar ddêg Sûl gwedi'r Drindod.

### Y Colect.

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, dyro i ni anghwaneg o ffŷdd, gobaith, a chariad perffaith, ac fel a gallom gael yr hŷn yr wŷt yn ei addo, gwna i ni garu yr hŷn yr wŷt yn ei orchymŷn, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

### Yr Epistol. Galatiaid. 5. 16.

YR wŷf yn dywedŷd, Rhodiwch yn yr Yspryd, ac na chyflawnwch drachwant y cnawd. Canŷs mae y cnawd yn chwennychu yn erbŷn yr Yspryd, a'r Yspryd yn erbŷn y cnawd: a'r rhai hŷn a wrthwŷnebant ei gilŷdd, fel na alloch wneuthur bêth bynnag a ewŷllysioch. Ond os gan yr Yspryd i'ch arweinir, nid ydych tan y Ddeddf. Hefŷd amlwg ŷw gweithredoedd y cnawd, y rhai ŷw, tor-priodas, godineb, aflendid, anlladrwŷdd, Delw-addollaeth, swŷn-gyfaredd, casineb, cynhennau, gwŷn-fydau, llîd, ymrysonau, ymbleidio, heresiau, Cenfigennau, llofruddiaeth, meddwdod, cyfeddach, a chyffelŷb i'r rhai hŷn: am y rhai yr wŷfi yn rhag-ddywedŷd wrthŷch, megis ag a rhag ddywedais, na chaiff y rhai sŷ yn gwneuthur y cyfrŷw bethau etifeddu teyrnas Dduw. Ond ffrwŷth yr Yspryd ŷw cariad, llawenŷdd, tangneddŷf, hir-ymaros, cymmwŷnasgarwch, daioni, ffŷdd, addfwŷnder, dirwest. Yn erbŷn y cyfrŷw nid oes Ddeddf. A'r rhai sŷdd yn eiddo Crist, a groeshoeliasant y cnawd, a'i wŷniau, a'i chwantau.

### Yr Efengyl. S. Luc. 17. 11.

BU hefŷd, ac efe yn myned i Jerusalem, fyned o hono ef trwŷ ganol Samaria a Galilea. A phan oedd efe yn myned i mewn i rŷw drêf, cyfarfu ag ef ddêg o wŷr gwahangleifion, y rhai a safasant o hirbell: A hwŷ a godasant eu llêf, gan ddywedŷd, Jesu feistr, trugarhâ wrthŷm. A phan welodd efe hwŷnt, efe a ddywedodd wrthŷnt, Ewch a dangoswch eich hunain i'r offeiriaid. A bu fel yr oeddŷnt yn mynd fe a'i glanhawŷd hwŷnt. Ac un o honŷnt, pan welodd ddarfod ei iachâu, a ddychwelodd, gan foliannu Duw â llêf uchel. Ac efe a syrthiodd ar ei wŷneb wrth ei draed ef, gan ddiolch iddo a Samariad oedd ef. A'r Jesu gan atteb a ddywedodd, Oni lanhawŷd y dêg? ond pa lê a mae'r naw? Ni chaed a ddychwelasant i roi gogoniant i Dduw ond yr estron hwn. Ac efe a ddywedodd wrtho, Cyfod, a dos ymaith, dy ffŷdd a'th iachâodd.

## Y pymthegfed Sûl gwedi'r Drindod.

### Y Colect.

CAdw, attolygwn i ti Arglwŷdd, dy Eglwŷs, a'th dragywŷddol drugaredd: a chan na ddichon gwendid dŷn hebot ti onid syrthio, cadw ni bŷth trwŷ dy borth oddiwrth bôb pêth niweidiol, ac arwain ni at bôb pêth buddiol i'n hiechŷdwriaeth, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

### Yr Epistol. Galatiaid. 6. 11.

GWelwch cyhŷd y llythŷr a scrifennais attoch, a'm llaw fy hun. Cynnifer sŷ yn ewŷllysio ymdeghâu yn y cnawd, y rhai hŷn sŷ yn eich cymmell i'ch enwaedu, yn unig fel nad erlidier hwŷ oblegid croes Crist. Canŷs nid ŷw y rhai a enwaedir, eu hunain yn cadw y Ddeddf: ond ewŷllysio a maent enwaedu arnoch chwi, fel a gorfoleddont yn eich cnawd chwi. Ond na atto Duw i mi ymffrostio, ond ynghroes ein Harglwŷdd Jesu Grist: drwŷ yr hwn a croeshoelwŷd y bŷd i mi, a minneu i'r bŷd. Canŷs yng-Hrist Jesu ni ddichon Enwaediad ddim, na di-enwaediad, ond creadur newŷdd. A chynnifer ag a rodiant yn ôl y rheol hon, tangneddŷf arnŷnt a thrugaredd, ac ar Israel Duw, O hŷn allan, na flined nêb fi: canŷs dwŷn yr wŷfi yn fy nghorph nodau'r Arglwŷdd Jesu. Grâs ein Harglwŷdd Jesu Grist a fyddo gyda'ch yspryd chwi, frodŷr. *Amen.*

### Yr Efengyl. S. Matthew. 6. 24.

NI ddichon nêb wasanaethu dau arglwŷdd, canŷs naill a'i efe a gasâ y naill, ac a gâr y llall, ai efe a ymlŷn wrth y naill, ac a esceulusa'r llall. Ni ellwch wasanaethu Duw a Mammon. Am hynny meddaf i chwi, na ofalwch am eich bywŷd, pa bêth a fwŷdtaoch, neu pa bêth a yfoch, nag

nag am eich corph, pa bêth a wiscoch; onid ŷw'r bywŷd yn fwŷ na'r bwŷd, a'r corph yn fwŷ na'r dillad? Edrychwch ar adar y nefoedd? oblegid nid ydŷnt yn hâu, nag yn medi, nag yn cywain i yscuboriau, ac y mae eich Tâd nefol yn eu porhi hwŷ: Onid ydŷch chwi yn rhagori llawer arnŷnt hwŷ? A phwŷ o honoch gan ofalu a ddichon chwanegu un cyfŷdd at ei faintioli? A pha ham yr ydŷch chwi yn gofalu am ddillad? ystyriwch lili'r maes, pa fôdd y maent yn tyfu: nid ydŷnt nag yn llafurio, nag yn nyddu: Ond yr wŷf yn dywedŷd i chwi, na wiscwŷd Solomon yn eu hôll ogoniant, fel un o'r rhai hŷn. Am hynnŷ os dillada Duw fellu lysieun y maes, yr hwn fŷdd heddŷw, ac y foru a fwrir i'r ffwrn: oni ddillada efe chwi yn hytrach o lawer, ô chwi o ychydig ffŷdd? Am hynnŷ na ofelwch, gan ddywedŷd, Bêth a fwŷdtawn, neu bêth a yfwn, neu â pha bêth yr ymddilladwn? (Canŷs yr hôll bethau hŷn a mae y cenhedloedd yn eu ceisio) oblegid gŵŷr eich Tâd nefol fôd arnoch eisieu yr hôll bethau hŷn. Ond yn gyntaf ceisiwch deŷrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef, a'r hôll bethau hŷn a roddir i chwi yn ychwaneg. Na ofalwch gan hynnŷ tros drannoeth: canŷs tranneth a ofala am ei bethau ei hun, digon i'r diwrnod ei ddrŵg ei hun.

*Yr unfed ar bymtheg Sul gwedi'r Drindod.*

*Y Colect.*

ARglwŷdd, attolygwn i ti, fôd i'th wastadol dosturi lanhâu ac amddiffŷn dy Eglwŷs: a chan na all hi barhau mewn diogelwch heb dy fendigedig nodded, cadw hi bŷth gan dy borth a'th ddaioni, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

*Yr Epistol. Ephesiaid. 3. 13.*

YR wŷf yn dymuno na lwfrhâoch oblegid fy mlinderau i trosoch, yr hŷn ŷw eich gogoniant chwi. O herwŷdd hŷn yr wŷf yn plygu fy ngliniau at Dad ein Harglwŷdd Jesu Grîst, O'r hwn yr henwir yr hôll deulu yn y nefoedd, ac ar y ddaiar; A rhoddi o hono ef i chwi yn ôl cyfoeth ei ogoniant, fôd wedi ymgadarnhâu mewn nerth, trwŷ ei Yspryd ef, yn y dŷn oddifewn: Ar fôd Crîst yn trigo trwŷ ffŷdd yn eich calonnau chwi; Fel a galloch wedi eich gwreiddio, a'ch seilio mewn cariad, ymgyffred gyda'r hôll Sainct, bêth ŷw'r llêd, a'r hŷd, a'r dyfnder, a'r uchder: A gwŷbod cariad Crîst, yr hwn fŷdd uwchlaw gwŷbodaeth: Fel eich cyflawner â hôll gyflawnder Duw. Ond i'r hwn a ddichon wneuthur yn drâ-rhagorol, y tu hwnt i bôb pêth yr ydŷm ni yn eu dymuno, neu yn eu meddwl yn ôl y nerth fŷdd yn gweithredu ynom ni, Iddo ef a byddo y gogoniant yn yr Eglwŷs trwŷ Grîst Jesu, tros yr hôll genhedlaethau, hŷd yn oes oesoedd. *Amen.*

*Yr Efengŷl. S. Luc. 7. 11.*

ABu drannoeth, iddo fyned i ddinas a elwid Nain: a chydag ef yr aeth llawer o'i ddyscyblin, a thyrfa fawr. A phan ddaeth efe yn agos at borth y ddinas, wele un marw a ddygid allan, yr hwn oedd unig fab ei fam, a hono yn weddw: a bagad o bobl y ddinas oedd gyda hi. A'r Arglwŷdd pan welodd hi, a gymmerodd drugaredd arni, ac a ddywedodd wrthi, Nag wŷla. A phan ddaeth attŷnt, efe a gyffyrddodd a'r elor: (a'r rhai a oedd yn ei dwŷn a safasant) ac efe a ddywedodd, Y mâb ieuangc, yr wŷf yn dywedŷd, wrthit, cyfod. A'r marw a gyfododd yn ei eistedd, ac a ddechreuodd lefaru: ag efe a'i rhoddodd i'w fam. Ac ofn a ddaeth ar bawb: a hwŷ a ogoneddasant Dduw, gan ddywedŷd, prophwŷd mawr a gyfododd yn ein plith: ac ymwelodd Duw a'i bobl. A'r gair hwn a aeth allan amdano drwŷ

hôll Judea, a thrwŷ gwbl o'r wlâd oddi amgylch.

---

*Y deuŝed ar bymtheg Sul gwedi'r Drindod.*

*Y Colect.*

ARglwŷdd, ni attolygwn i ti fôd dy rad bôb amſer yn ein rhagflaenu, ac yn ein dilŷn; a pheri o honot i ni yn waſtad ymroddi i bôb gweithred ddâ, trwŷ Jeſu Grîſt ein Harglwŷdd. *Amen.*

*Yr Epiſtol. Epheſiaid.* 4. 1.

DEiſŷf gan hynnŷ arnoch yr wŷfi y carcharor yn yr Arglwŷdd, ar rodio o honoch yn addas i'r alwedigaeth i'ch galwŷd iddi; Gyda phôb goſtyngeiddrwŷdd ac addfwŷnder, ynghŷd â hirymaros, gan oddef eu gilŷdd mewn cariad: Gan fôd yn ddyfal i gadw undeb yr Yſprŷd, ynghwlwm tangneddŷf. Un corph ſŷdd, ac un yſprŷd, megis ag i'ch galwŷd yn un gobaith eich galwedigaeth; Un Arglwŷdd, un ffŷdd, un bedŷdd: Un Duw a Thâd ôll, yr hwn ſŷdd goruwch ôll, a thrwŷ ôll, ac ynoch ôll.

*Yr Efengŷl. S. Luc.* 14. 1.

BU hefŷd, pan ddaeth efe i dŷ un o bennathiaid y Phariſeaid ar y Sabbath, i fwŷdta bara, iddŷnt hwŷthau ei wilied ef. Ac wele, yr oedd ger ei fron ef rŷw ddŷn yn glâf o'r dropſi. A'r Jeſu gan atteb a leſarodd wrth y cyfreithwŷr, a'r Phariſeaid, gan ddywedŷd, Ai cyfreithlawn iachâu ar y Sabbath? A thewi a wnaethant. Ac efe a'i cymmerodd atto, ac a'i iachâodd ef, ac a'i gollyngodd ymaith: Ac a attebodd iddŷnt hwŷthau, ac a ddywedodd, Aſſŷn neu ŷch pa un o honoch a ſŷrth i bwll, ac yn ebrwŷdd ni's tŷnn ef allan ar y dŷdd Sabbath? Ac ni allent roi atteb yn ei erbŷn ef am y pethau hŷn. Ac efe a ddywedodd wrth y gwahoddedigion ddammeg, pan yſtyriodd fel yr oeddŷnt yn dewis yr eiſteddleoedd uchaf; gan ddywedŷd wrthŷnt, Pan i'th wahodder gan nêb i neithior, nag eiſtedd yn y llê uchaf, rhag bôd un anrhydeddusach na thi, wedi ei wahodd ganddo: Ac i hwn a'th wahoddodd di ac yntef, ddyfod a dywedŷd wrthit, Dyro lê i hwn; ac yno dechreu o honot ti trwŷ gywilŷdd gymmerŷd y llê iſaf. Ond pan i'th wahodder, dôs ac eiſtedd yn y llê iſaf, fel pan ddelo'r hwn a'th wahoddodd di, a gallo efe ddywedŷd wrthit, Y cyfaill, eiſtedd yn uwch i fynu: yna a bŷdd i ti glôd yngŵŷdd y rhai a eiſteddant gyda thi ar y bwrdd. Canŷs pôb un a'i derchafo ei hun, a oſtyngir: a'r hwn ſŷdd yn ei oſtwng ei hun, a dderchefir.

---

*Y Trydŷdd ar bymtheg Sul gwedi'r Drindod.*

*Y Colect.*

O Arglwŷdd, ni a attolygwn i ti ganiadhâu i'th bobl râd i wrthladd profedigaethau y bŷd, y cnawd, a'r cythrael, a phur galon a meddwl i'th ddilŷn di yr unig Dduw trwŷ Jeſu Grîſt ein Harglwŷdd. *Amen.*

*Yr Epiſtol.* 1 *Cointhiaid.* 1. 4.

YR ydwŷf yn diolch i'm Duw bôb amſer droſoch chwi, am y grâs Duw a rodded i chwi yng-Hrîſt Jeſu Am eich bôd ymhôb pêth wedi eich cyfoethogi ynddo ef, mewn pôb ymadrodd a phôb gwŷbodaeth, Megis a cadarnhawŷd tyſtiolaeth Crîſt ynoch. Fel nad ydŷch yn ôl mewn un dawn, yn diſgwil am ddatcuddiad ein Harglwŷdd Jeſu Grîſt: Yr hwn hefŷd a'ch cadarnhâ chwi hŷd y diwedd, yn ddiargyoedd, yn nŷdd ein Harglwŷdd Jeſu Grîſt.

*Yr Efengŷl. S. Matthew.* 22. 34.

GWedi clywed o'r Phariſeaid ddarfod i'r Jeſu oſtegu y Saduceaid, hwŷ a ymgynullaſant ynghŷd i'r un llê. Ac

un o honŷnt, yr hwn oedd gyfreithiwr, a ofynnodd iddo gan ei demptio, a dywedŷd, Athro, pa un ŷw'r gorchymŷn mawr yn y gyfraith? A'r Jesu a ddywedodd wrtho, Câr di yr Arglwŷdd dy Dduw a'th hôll galon, ac a'th hôll enaid, ag a'th hôll feddwl: Hwn ŷw'r cyntaf, a'r gorchymŷn mawr. A'r ail sŷdd gyffelŷb iddo, Câr dy gymmydog fel di dy hun. Ar y ddau orchymŷn hŷn, a mae'r hôll gyfraith a'r prophwŷdi yn sefŷll. Ac wedi ymgasclu o'r Phariseaid ynghŷd, yr Jesu a ofynnodd iddŷnt, Gan ddywedŷd, Bêth a dybygwch chwi am Grist? mâb i bwŷ ydŷw? dywedent wrtho, Mâb Dafŷdd. Dywedai yntef wrthŷnt, Pa fôdd gan hynnŷ a mae Dafŷdd yn yr Ysprŷd yn ei alw ef yn Arglwŷdd? gan ddywedŷd, Dywedodd yr Arglwŷdd wrth fy Arglwŷdd, Eistedd ar fy neheulaw, hŷdoni osodwŷf dy elynion yn droed-faingc i'th draed ti. Os ŷw Dafŷdd gan hynnŷ yn ei alw ef yn Arglwŷdd, pa fôdd a mae efe yn fab iddo? Ac ni allodd nêb atteb gair iddo: ac ni feiddiodd nêb o'r dŷdd hwnnw allan ymofŷn ag ef mwŷach.

---

*Y pedwareddarbymtheg Sul gwedi'r Drindod*

Y *Colect*.

O Dduw, gan na allwn ni hebot ti ryngu bôdd i ti, oth drugaredd caniadhâ fôd i'th lân Ysprŷd ymmhôb pêth unioni a llyfodraethu ein calonnau, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

*Yr Epistol. Ephesiaid.* 4. 17.

HYn gan hynnŷ yr wŷf yn ei ddywedŷd, ac yn ei dystiolaethu yn yr Arglwŷdd, na rodioch chwi mwŷach fel a mae y Cenhedloedd eraill yn rhodio yn oferedd eu meddwl; Wedi tywŷllu eu deall, wedi ymddieithro oddiwrth fuchedd Dduw, drwŷ'r anwŷbodaeth sŷdd ynddŷnt trwŷ ddallineb eu calon: Y rhai wedi diddarbodi, a ymroesant i drythyllwch, i wneuthur pôb aflendid yn unchwant. Ond chwychwi nid fellu a dyscasoch Grist: Os bu i chwi ei glywed ef, ac os dyscwŷd chwi ynddo, megis a mae'r gwirionedd yn yr Jesu: Dodi o honoch heibio, o ran yr ymwareddiad cyntaf, yr hên ddŷn, yr hwn sŷdd lygredig yn ôl y chwantau twyllodrus: Ac ymadnewŷddu yn ysprŷd eich meddwl, A gwisco y dŷn newŷdd, yr hwn yn ôl Duw a grewŷd mewn cyfiwnder, a gwîr sancteiddrwŷdd. O herwŷdd pa ham, gan fwrw ymmaith gelwŷdd, dywedwch y gwîr bôb un wrth ei gymmydog: oblegid aelodau ydŷm i'n gilŷdd. Digiwch, ac na phechwch: na fachluded yr haul ar eich digofaint chwi: Ac na roddwch lê i ddiafol. Yr hwn a ladrattâodd, na ladratted mwŷach, ond yn hytrach cymmered boen, gan weithio a'i ddwŷlo yr hŷn sŷdd ddâ, fel a byddo ganddo bêth iw gyfrannu, i'r hwn a mae angen arno. Na ddeued un ymadrodd llygredig allan o'ch geneu chwi: ond y cyfrŷw un ac a fyddo dâ i adeiladu yn fuddiol, fel a paro râs i'r gwrandawŷr. Ac na thristêwch lân Ysprŷd Duw, trwŷ'r hwn i'ch seliwŷd hŷd ddŷdd prynedigaeth. Tynner ymmaith oddiwrthŷch bôb chwerwedd, a llîd, a dîg, a llefain, a chabledd, gyda phôb drygioni. A byddwch gymwŷnasgar iw gilŷdd, yn dosturiol, yn maddeu iw gilŷdd, megis a maddeuodd Duw er mwŷn Crist i chwithau.

*Yr Efengŷl. S. Matthew.* 9. 1.

YR Jesu a aeth i mewn i'r llong, ac a aeth trosodd, ac a ddaeth iw ddinas ei hun. Ac wele, hwŷ a ddygasant atto ŵr clâf o'r parlŷs, yn gorwedd mewn gwelŷ; a'r Jesu yn gweled eu ffŷdd hwŷ, a ddywedodd wrth y clâf o'r parlŷs, Ha fab cymmer gyssur, maddeuwŷd i ti dy bechodau. Ac wele,

rhai o'r Scrifennyddion a ddywedasant ynddŷnt eu hunain, i mae hwn yn cablu. A phan gwŷbu yr Jesu eu meddyliau, efe a ddywedodd, Pa ham a meddyliwch ddrŵg yn eich calonnau? Canŷs pa un hawsaf, ai dywedŷd, maddeuwŷd i ti dy bechodau, ai dywedŷd, cyfod a rhodia? Ond fel a gwŷpoch fod awdurdod gan fab y dŷn ar y ddaiar i faddeu pechodau (yna a dywedodd efe wrth y claf o'r parlŷs) cyfod, cymmer dy welŷ i fynu, a dôs i'th dŷ. Ac efe a gyfododd, ac a aeth ymaith i'w dŷ ei hun. A'r tyrfeuydd pan welsant, rhyfeddu a wnaethant! a gogoneddu Duw yr hwn a roesei gyfrŷw awdurdod i ddynnion.

---

## *Yr Ugeinfed Sul gwedi'r Drindod.*

### *Y Colect.*

HOll-gyfoethog a thrugarog Dduw, o'th ragorol ddaioni cadw ni, ni attolygwn i ti, rhag pôb pêth a'n dryga, fel a byddom yn barod yn enaid a chorph, i allu â chalonnau rhyddion gyflawni y cyfrŷw bethau ag a fynnit ti eu gwneuthur, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

### *Yr Epistol. Ephesiaid.* 5. 15.

GWelwch gan hynnŷ, pa fôdd a rhodioch yn ddiesceulus: nid fel annethion, ond fel doethion; Gan brynu'r amser, oblegid y dyddiau sŷ ddrŵg. Am hynnŷ na fyddwch annoethion, ond yn deall bêth ŷw ewŷllŷs yr Arglwŷdd. Ac na feddwer chwi gan wîn, yn yr hŷn a mae gormodedd, ond llanwer chwi â'r Yspryd: Gan lefaru wrth eu gilŷdd mewn Psalmau a Hŷmnau, ac odlau ysprydol: gan ganu a phyngcio yn eich calon i'r Arglwŷdd: Gan ddiolch yn wastad i Dduw a'r Tad am bôb pêth, yn enw ein Harglwŷdd Jesu Grîst: Gan ymddarostwng iw gilŷdd yn ofn Duw.

### *Yr Efengŷl. S. Matthew.* 22. 2.

YR Jesu a ddywedodd, Cyffelŷb ŷw teyrnas Nefoedd i rŷw Frenin a wnaeth briodas i'w fab: Ac a ddanfonodd ei weision i alw y rhai a wahoddasid i'r briodas, ac ni fynent hwŷ ddyfod. Drachefn efe anfonodd weision eraill, gan ddywedŷd, Dywedwch wrth y rhai a wahoddwŷd, Wele, parodtoais fy nghinio, fy ychen a'm pescadigion a laddwŷd, a phôb pêth sŷdd barod, deuwch i'r briodas. A hwŷ yn ddiystŷr ganddŷnt, a aethant ymaith, un i'w faes, ac arall iw fasnach. A'r llaill a ddaliasant ei weision ef, ac a'u hamharchasant, ac a'u lladdasant. A phan glybu y Brenin, efe a lidiodd, ac a ddanfonodd eu luoedd; ac a ddinistriodd y lleiddiaid hynnŷ, ac a loscodd eu dinas hwŷnt. Yna efe a ddywedodd wrth ei weision, Yn wîr y briodas sŷdd barod, ond y rhai a wahoddasid nid oeddŷnt deilwng. Ewch gan hynnŷ i'r brî-ffŷrdd, a chynnifer ag a gaffoch, gwahoddwch i'r briodas. A'r gweision hynnŷ a aethant allan i'r brî-ffŷrdd, ac a gasclasant ynghŷd gynnifer ôll ag a gawsant, drŵg a dâ: a llanwŷd y briodas o wahoddedigion. A phan ddaeth y Brenin i mewn i weled y gwahoddedigion, efe a ganfu yno ddŷn heb wîsc briodas amdano. Ac efe a ddywedodd wrtho, Y cyfaill, pa fôdd a daethost imewn ymma, heb fôd gennit wîsc briodas? Ac yntef a aeth yn fud. Yna y dywedodd y Brenin wrth y gweinidogion, Rhwŷmwch ei draed a'i ddwŷlo, a chymmerwch ef ymaith, a theflwch i'r tywŷllwch eithaf: yno a bŷdd gwŷlofain a rhingcian dannedd. Canŷs llawer sŷ wedi eu galw, ac ychydig wedi eu dewis.

---

## *Yr unfed ar hugain Sul gwedi'r Drindod.*

### *Y Colect.*

O Drugarog Arglwŷdd, ni attolygwn

ti ganiadhau i'th ffyddlawn bobl faddeuant a thangneddŷf, fel a glanhaer hwŷnt oddiwrth eu hôll bechodau, ac a gwasanaethont ti â meddwl heddychol, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

*Yr Epistol. Ephesiaid.* 6. 10.

FY mrodŷr, ymnerthwch yn yr Arglwŷdd, ac ynghadernid ei allu ef. Gwiscwch ôll arfogaeth Duw, fel a galloch sefŷll yn erbŷn cynllwŷnion diafol. Oblegid nid ŷw ein hymdrech ni yn erbŷn gwaed a chnawd, ond yn erbŷn tywŷsogaethau, yn erbŷn awdurdodau, yn erbŷn bydol-lywiawdwŷr tywŷllwch y bŷd hwn, yn erbŷn drygau ysprydol yn y nefolaidd leoedd. Am hynnŷ cymmerwch attoch hôll arfogeath Duw, fel a galloch wrth-sefŷll yn y dŷdd drŵg, ac wedi gorphen pôb pêth, sefŷll. Sefwch gan hynnŷ wedi amgŷlch wregysu eich lwŷnau â gwirionedd, a gwisco dwŷfronneg cyfiawnder: A gwisco am eich traed escidiau parodtôad Efengŷl tangneddŷf. Uwch law pôb dim, wedi cymmerŷd tarian y ffŷdd, a'r hwn a gellwch ddiffoddi hôll biccellau tanllŷd y fall. Cymmerwch hefŷd helm yr iechŷdwriaeth, a chleddŷf yr Ysprŷd, yr hwn ŷw gair Duw: Gan weddio bôb amser, a phôb rhŷw weddi a deisyfiad yn yr ysprŷd, a bôd yn wiliadwrus at hŷn ymma, trwŷ bôb dyfal-bara, a deisyfiad tros yr holl Sainct: A throsof finneu, fel a rhodder i mi ymadrodd drwŷ agorŷd fy ngeneu yn hŷ, i yspysu dirgelwch yr Efengŷl: Tros yr hon yr wŷf yn gennad mewn cadwŷn: Fel a traethwŷf yn hŷ amdani, fel a perthŷn i mi draethu.

*Yr Efengŷl. S. Joan.* 4. 46.

YR oedd rhŷw bendefig yr hwn yr oedd ei fâb yn glâf yn Capernaum. Pan glybu hwn ddyfod o'r Jesu o Judea i Galilea, efe a aeth atto ef, ac a attolygodd iddo ddyfod i wared, ac iachâu ei fâb ef: canŷs yr oedd efe ymmron marw. Yna yr Jesu a ddywedodd wrtho ef, Oni welwch chwi arwŷddion a rhyfeddodau, ni chredwch. Y pendefig a ddywedodd wrtho ef, O Arglwŷdd, tyred i wared cŷn marw fy machgen. Jesu a ddywedodd wrtho ef, Dôs ymmaith; mae dy fâb yn fŷw. A'r gŵr a gredodd y gair a ddywedasei'r Jesu wrtho, ac efe a aeth ymaith. Ac fel yr oedd efe yr awron yn myned i wared, ei weision a gyfarfuant ag ef, ac a fynegasant, gan ddywedŷd, Y mae dy fachen yn fŷw. Yna efe a ofynnodd iddŷnt yr awr a gwellhasei arno. A hwŷ a ddywedasant wrtho, Doe, y seithfed awr a gadawodd y crŷd ef. Yna a gwŷbu'r Tâd mai yr awr honno oedd, yn yr hon a dywedasei Jesu wrtho ef; Y mae dy fâb yn fŷw. Ac efe a gredodd, a'i hôll dŷ. Yr ail arwŷdd ymma drachefn a wnaeth yr Jesu, wedi dyfod o Judea i Galilea.

---

*Y ddeufed ar hugain Sul gwedi'r Drindod,*

*Y Colect.*

ARglwŷdd, ni attolygwn i ti, gadw dy deulu, yr Eglwŷs mewn duwioldeb gwastadol, fel a bô trwŷ dy nodded ti, iddi gael ei gwaredu oddiwrth bôb gwrthwŷneb, ac yn ddefosionol ymroi i'th wasanaethu di mewn gweithredoedd dâ, er gogoniant i'th Enw, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

*Yr Epistol. Philippiaid.* 1. 3.

I'M Duw yr ydwŷf yn diolch ymhôb coffa am danoch, Bôb amser ymhôb deisyfiad o'r eiddof trosoch chwi ôll, gan wneuthur fy neisyfiad gyda llawenŷdd: Oblegid eich cymdeithas chwi yn yr Efengŷl, o'r dŷdd cyntaf hŷd yr awr hon: Gan fôd yn hyderus yn hŷn, a bŷdd i'r hwn a ddechreuodd ynoch waith dâ, ei orphen hŷd ddŷdd Jesu Grîst:

Megis

Megis a mae yn iawn i mi synied hŷn am danoch ôll, am eich bôd gennif yn fy nghalon, yn gymmaint a'ch bôd chwi ôll, yn gystal yn fy rhwŷmau, ac yn fy amddiffŷn, a chadarnhad yr Efengŷl, yn gyfrannogion â mi o râs. Canŷs Duw sŷdd dŷst i mi, mor hiraethus wŷf am danoch ôll yn ymyscaroedd Jesu Grîst. A hŷn yr wŷf yn ei weddio, ar amlhau o'ch cariad chwi etto fwŷ fwŷ, mewn gwŷbodaeth, a phôb synwŷr. Fel a profoch y pethau sŷdd a gwahaniaeth rhyngddŷnt: fel a byddoch bûr a didramgwŷdd hŷd ddŷdd Crîst: Wedi eich cyflawni a ffrwŷthau cyfiawnder, y rhai sŷdd trwŷ Jesu Grîst, er gogoniant a moliant i Dduw.

*Yr Efengŷl. S. Matthew.* 18. 21.

PEter a ddywedodd wrth yr Jesu, Arglwŷdd, pa sawl gwaith a pecha fy mrawd i'm herbŷn, ac a maddeuaf iddo? ai hŷd seith-waith? Yr Jesu a ddywedodd wrtho, Nid wŷf yn dywedŷd wrthit, hŷd seith-waith, onid hŷd ddeng-waith a thriugain seith-waith. Am hynnŷ a cyffelybir teŷrnas nefoedd i rŷw Frenin, a fynnei gael cyfrif gan ei weision. A phan ddechreuodd gyfrif, fe a ddygwŷd atto un a oadd yn ei ddylêd ef o ddengmîl o dalentau. A chan nad oedd ganddo ddim i dalu, gorchymynodd ei Arglwŷdd ei werthu ef, a'i wraig, a'i blant, a chwbl a'r a feddei, a thalu'r ddylêd. A'r gwâs a syrthiodd i lawr, ac a'i haddolodd ef, gan ddywdŷd, Arglwŷdd, bŷdd ymarhous wrthif, a mi a dalaf i ti y cwbl ôll. Ac Arglwŷdd y gwâs hwnnw a dosturiodd wrtho, ac a'i gollyngodd, ac a faddeuodd iddo y ddylêd. Ac wedi myned o'r gwâs hwnnw allan, efe a gafodd un o'i gŷd-weision, yr hwn oedd yn ei ddylêd ef o gan ceiniog: ac efe a ymaflodd ynddo, ac a'i llindagodd, gan ddywedŷd, Tâl i mi yr hŷn sŷdd ddyledus arnat. Yna a syrthiodd ei gŷd-wâs wrth ei draed ef, ac a ymbiliodd ag ef, gan ddywedŷd, bŷdd ymarhous wrthif, a mi a dalaf i ti y cwbl ôll. Ac ni's gwnai efe: ond myned a'i fwrw ef yngharchar, hŷdoni thalei yr hŷn oedd ddyledus. A phan welodd ei gŷd-weision y pethau a wnaethid, bu ddrŵg dros ben ganddŷnt: a hwŷ a ddaethant, ac a fynegasant i'w harglwŷdd yr hôll bethau a fuasei. Yna ei Arglwŷdd wedi ei alw ef atto, a ddywedodd wrtho. Ha wâs drŵg, maddeuais i ti yr hôll ddylêd honno, am i ti ymbil â mi: Ac oni ddylesit titheu drugarhau wrth dy gŷd-wâs, megis a trugarheais inneu wrthit ti? A'i Arglwŷdd a ddigiodd, ac a'i rhoddodd ef i'r poen-wŷr, hŷd oni thalei yr hŷn ôll oedd ddyledus iddo. Ac fellu a gwna fy Nhâd nefol i chwithau, oni faddeuwch o'ch calonnau bôb un i'w frawd eu camweddau.

---

*Y Trydŷdd ar hugian Sûl gwedi'r Drindod.*

Y *Colect.*

DUw ein nodded a'n cadernid, yr hwn wŷt awdur pôb duwiolder, gwrando yn ebrwŷdd ni atolygwn i ti ddefosionol weddiau dy Eglwŷs; a chaniadha i ni am yr hŷn yr ŷm yn ei erchi yn ffyddlawn, allu o honom eu cael yn gyflawn, trwŷ Jesu Grîst ein Harlwŷdd. *Amen.*

Yr *Epistol. Philippiaid.* 3. 17.

BYddwch ddilynwŷr i mi, frodŷr, ac erdychwch ar y rhai sŷ yn rhodio fellu, megis yr ydŷm ni yn esampl i chwi. (Canŷs mae llawer yn rhodio, am y rhai y dywedais i chwi yn fynŷch, ac yr ydwŷf yr awron hefŷd, tan wŷlo yn dywedŷd, mai gelynion croes Crîst ydŷnt: Diwedd y rhai ŷw distrŷw; Duw y rhain ŷw eu bol, a'u gogoniant yn eu cywilŷdd: y rhai sŷdd yn synnied

pethau daiarol.) Canŷs ein hymwaredd-iad ni sŷdd yn y nefoedd, o'r llê hefŷd yr ydŷm yn disgwŷl yr Iachawdwr, yr Arglwŷdd Jesu Grîst: Yr hwn a gyf-newidia ein corph gwael ni, fel a gwneler ef yr un ffurf a'i gorph gogoneddus ef, yn ôl y nerthol weithrediad trwŷ'r hwn a dichon efe, ddarostwng ie bôb pêth iddo ei hun.

Yr *Efangŷl. S. Matthew.* 22. 15.

YNa'r aeth y Phariseaid ac a gym-merasant gyngor pa fôdd a rhwŷ-dent ef yn ei ymadrodd. A hwŷ a ddanfonasant atto eu dyscyblion ynghŷd a'r Herodiaid, gan ddywedŷd, Athro, ni a wŷddom dy fôd yn eirwir, ac yn dyscu ffordd Dduw mewn gwirionedd, ac nad oes arnat ofal rhag nêb: oblegid nid wŷti yn edrŷch ar wŷneb dynnion. Dywed i ni gan hynnŷ, beth yr wŷti yn ei dybied: ai cyfreithlawn ŷw rhoddi te-yrnged i Cesar, ai nid ŷw? Ond yr Jesu a wŷbu eu drygioni hwŷ, ac a ddywedodd, Pa ham yr ydŷch yn fy nhemptio i, chwi ragrith-wŷr? Dangoswch i mi arian y deyrnged. A hwŷ a ddygasant atto geiniog. Ac efe a ddywedodd wrthŷnt, Eiddo pwŷ ŷw y ddelw hon a'r argraph? Dywedasant wrtho, Eiddo Cesar. Yna a dywedodd wrthŷnt, Telwch chwithau eiddo Cesar i Cesar, ac eiddo Duw i Dduw. A phan glywsant hwŷ hŷn, rhyfeddu a wnaethant, a'i adel ef a myned ymaith.

---

## Y *pedwaredd ar hugain Sûl gwedi'r Drindod*

Y *Colect.*

ARglwŷdd, attolygwn i ti ollwng dy bobl oddiwrth eu camweddau, fel a byddom trwŷ dy ddawnus drugar-edd ryddion oddiwrth rwŷmedigaethau ein hôll bechodau, y rhai drwŷ ein gwawdol freuolder a wnaethom: Can-iadha hŷn er cariad ar Jesu Grîst ein Harglwŷdd bendigedig, a'n Iachawdr. *Amen.*

Yr *Epistol. Colosiaid.* 1. 3.

YR ydŷm yn diolch i Dduw a Thâd ein Harglwŷdd Jesu Grîst, gan we-ddio trosoch chwi yn wastadol: er pan glywsom am eich ffŷdd yng-Hrîst Jesu, am y cariad sŷdd gennŷch tuagat yr hôll Sainct: Er mwŷn y gobaith a roddwŷd i gadw i chwi yn y nefoedd, am yr hon y clywsoch o'r blaen yngair gwirionedd yr Efengŷl; Yr hon sŷdd wedi dyfod attoch chwi, megis ac a mae yn yr hôll Fŷd; ac sŷdd yn dwŷn ffrwŷth, megis ac yn eich plîth chwithau, er y dŷdd a clywsoch, ac a gwŷbuoch râs Duw mewn gwirionedd. Megis ac a dyscasoch gan Epaphras ein hanwŷl gŷdwas, yr hwn sŷdd trosoch chwi yn ffyddlon wei-nidog i Grîst: Yr hwn hefŷd a amlygodd i ni eich cariad chwi yn yr Yspryd. O herwŷdd hŷn, ninnau hefŷd, er y dŷdd a clywsom nid ydŷm yn peidio a gweddio trosoch, a deisŷf eich cyflawni chwi â gwŷbodaeth ei ewŷllŷs ef, ymhôb doethineb a deall ysprydol: Fel a rhod-ioch yn addas i'r Arglwŷdd, i bôb rhyngu bôdd, gan ddwŷn ffrwŷth ym-hôb gweithred ddâ, a chynnyddu yng-wŷbodaeth am Dduw. Wedi eich nerthu â phôb nerth, yn ôl ei gadernid gogoneddus ef, i bôb dioddefgarwch a hîr-ymaros, gyda llawenŷdd: Gan ddiolch i'r Tâd, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymwŷs i gael rhan o etifeddiaeth y Sainct yn y goleuni.

Yr *Efengŷl. S. Matthew.* 9. 18.

TRa'r oedd yr Jesu yn dywedŷd hŷn wrthŷnt, wele, daeth rhŷw ben-naeth, ac a'i haddolodd ef, gan ddywe-dŷd, Arglwŷdd, Bu farw fy merch yr awr hon, ond tyred a gosod dy law arni, a bŷw fŷdd hi. A'r Jesu a gododd, ac a'i canlynodd ef, a'i ddyscyblion. (Ac

wele, gwraig y buasei gwaed-lif arni ddeuddeng mlhynedd, a ddaeth o'r tu cefn iddo, ac a gyffyrddodd ag ymyl ei wisc ef. Canys hi a ddywedasei ynddi ei hun, Os câf yn unig gyffwrdd a'i wisc ef, iach fyddaf. Yna'r Jesu a drôdd, a phan welodd ef hi, efe a ddywedodd, Ha ferch bydd gyssurus, dy ffydd a'th iachaodd. A'r wraig a iachawyd o'r awr honno. A phan ddaeth yr Jesu i dŷ'r pennaeth, a gweled y cerddorion, a'r dyrfa yn terfyscu, Efe a ddywedodd wrthynt, Ciliwch: canys ni bu farw'r llangces: ond cyscu a mae hi. A hwy a'i gwatwarasant ef. Ac wedi bwrw y dyrfa allan, efe a aeth i mewn, ac a ymaflodd yn ei llaw hi: a'r llangces a gyfododd. A'r gair o hyn a aeth tros yr hôll wlad honno.

---

## Y *pummed ar hugain Sul gwedi'r Drindod.*

### Y *Colect.*

DEffro Arglwydd ni attolygwn i ti, ewyllyssion dy ffyddloniaid, fel a gallont drwy ddwyn aml ffrwyth gweithredoedd da, gael gennit ti yn ehelaeth eu gobrwyo, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

### Yn *lle'r Epistol. Jeremia.* 23. 5.

WEle y dyddiau yn dyfod, mêdd yr Arglwydd, a cyfodaf i Ddafydd Flaguryn cyfiawn, a brenin a deyrnasa, ac a lwydda, ac a wna farn, a chyfiawnder ar y ddaiar. Yn ei ddyddiau ef yr achubir Juda, ac Israel a bresswylia yn ddiogel; a hyn fydd ei enw, ar yr hwn a gelwir ef, Yr Arglwydd ein cyfiawnder. Am hynny wele y dyddiau yn dyfod, mêdd yr Arglwydd, prŷd na ddywedant mwyach, byw yw'r Arglwydd, yr hwn a ddûg feibion Israel i fynu o wlad yr Aipht; Ond byw yw'r Arglwydd, yr hwn a ddûg i fynu, ac a dywysodd hâd tŷ Israel o dir y gogledd, ac o bôb gwlad lle a gyrraswn i hwynt; a hwy a gânt aros yn eu gwlad eu hun.

### Yr *Efengyl. S. Joan.* 6. 5.

YNa'r Jesu a dderchafodd ei lygaid, ac a welodd fôd tyrfa fawr yn dyfod atto, ac a ddywedodd wrth Philip, O ba lê a prynwn ni fara, fel a caffo y rhai hyn fwydta? (A hyn a ddywedodd efe iw brofi ef: canys efe a wyddei bêth yr oedd efe ar fedr ei wneuthur) Philip a'i hattebodd ef, Gwerth dau can ceiniog o fara nid yw ddigon iddynt hwy, fel a gallo pôb un o honynt gymeryd ychydig. Un o'i ddyscyblion a ddywedodd wrtho, Andreas brawd Simon Peter. Y mae ymma ryw fachgenyn, a chanddo bum torth haidd, a dau byscodyn: ond bêth yw hynny rhwng cynnifer? A'r Jesu a ddywedodd, Perwch i'r dynnion eistedd i lawr. Ac yr oedd glas-wellt lawer yn y fan honno. Fellu y gwŷr a eisteddasant i lawr, ynghylch pum mil o nifer. A'r Jesu a gymerth y torthau, ac wedi iddo ddiolch, efe a'u rhannodd i'r dyscyblion, a'r dyscyblion i'r rhai oedd yn eistedd: fellu hefyd o'r pyscod, cymaint ac a fynnasant. Ac wedi eu digoni hwynt, efe a ddywedodd wrth ei ddyscyblion, Cesclwch y briwfwyd gweddill, fel na chollir dim. Am hynny hwy a'i cascl asant, ac a lanwasant ddeuddeg bascedaid o'r briw-fwyd, o'r pum torth haidd, a weddillasei gan y rhai a fwytasent. Yna y dynnion, pan welsant yr arwydd a wnaethei'r Jesu, a ddywedasant Hwn yn ddiau yw y Prophwyd oedd ar ddyfod i'r byd.

¶ *O bydd ychwaneg o Suliau o flaen Sul yr Adfent, cymerer gwasanaeth rhai o'r Suliau a adawyd heb ddarllain ar ôl yr ystwyll, i gyflawni cynnifer ag sydd yn nissyg yma. Ac os bydd llai, gadawer y rhai a fo tros ben; Proseidier fôd arfer y Colect, Epistol a'r Efengyl ddiweddaf yma bôb amser ar y Sul o flaen yr Adfent.*

## *Sanct Andreas Apostol.*

### Y *Colect.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn a roddaist gyfrŷw rad i'th fendigedig Apostol S. Andreas, fel yr ufuddhaodd efe yn ebrwŷdd i alwad dy Fab Jesu Grîst, ac a'i dilynodd ef yn ddirwŷstr: Caniadha i ni oll wedi ein galw gan dy air bendigedig, yn frau ymroddi o honom yn ufudd i gyflawni dy sanctaidd orchymynion, trwŷ yr unrhŷw Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

### *Yr Epistol Rhufeiniaid.* 10. 9.

OS cyffessi a'th eneu yr Arglwŷdd Jesu, a chredu yn dy galon, i Dduw ei gyfodi ef o farw, cadwedig fyddi. Canŷs a'r galon a credir i gyfiawnder, ac a'r geneu a cyffessir i iechŷdwriaeth. Oblegid i mae'r Scrythŷr yn dywedŷd, Pwŷ bynnag sŷdd yn credu ynddo ef, ni chywilyddir. Canŷs nid oes gwahaniaeth rhwng Iddew a Groegwr, oblegid yr un Arglwŷdd ar bawb, sŷdd oludog i bawb ac sŷdd yn galw arno. Canŷs pwŷ bynnag a alwo ar Enw yr Arglwŷdd, cadwedig fŷdd. Pa fôdd gan hynnŷ a galwant ar yr hwn ni chredasant ynddo? a pha fôdd a credant yn yr hwn na chlywsant sôn amdano? a pha fôdd a clywant heb bregethwr? a pha fôdd a pregethant, onis danfonir hwŷnt? megis a mae yn scrifennedig, Mor brydferth ŷw traed y rhai sŷ'n Efangylu tangneddŷf, y rhai sŷdd yn Efangylu pethau daionus! Ond nid ufuddhasant hwŷ oll i'r Efengŷl; Canŷs y mae Esaias yn dywedŷd; O Arglwŷdd, pwŷ a gredodd i'n hymadrodd ni; am hynnŷ ffŷdd sŷdd trwŷ glywed, a chlywed trwŷ air Duw. Ond meddaf, oni chlywsant hwŷ; Yn ddieu i'r hôll ddaiar yr aeth eu sŵn hwŷ, a'u geiriau hŷd derfynau y bŷd. Ond meddaf, Oni wŷbu Israel; Yn gyntaf mae Moses yn dywedŷd, Mi a baraf i chwi wynfydu trwŷ rai nid ŷw genedl; Trwŷ genedl anneallus i'ch digiaf chwi. Ond i mae Esaias yn ymhyfhau, ac yn dywedŷd, cafwŷd fi gan y rhai nid oeddŷnt yn fy ngheisio; a gwnaed fi yn eglur i'r rhai nid oeddŷnt yn ymofyn amdanaf. Ac wrth yr Israel a mae yn dywedŷd, ar hŷd y dŷdd yr estynnais fy nwylo at bobl anufudd, ac yn gwrth ddywedŷd.

### *Yr Efengŷl. S. Matthew.* 4. 18.

AR Jesu yn rhodio wrth fôr Galilea, efe a ganfu ddau frodŷr, Simon yr hwn a elwir Peter, ac Andreas ei frawd, yn bwrw rhwŷd i'r môr (canŷs pyscodwŷr oeddŷnt) Ac efe a ddywedodd wrthŷnt, Dowch ar fy ôl i, ac mi a'ch gwnaf yn byscodwŷr dynnion. A hwŷ yn y fan, gan adel y rhwŷdau, a'i canlŷnasant ef. Ac wedi myned rhagddo oddi yno, efe a welodd ddau frodŷr eraill, Jaco fab Zebedeus, ac Joan ei frawd mewn llong gyda Zebedeus eu tâd, yn cyweirio eu rhwŷdau: ac efe a'u galwodd hwŷ. Hwŷthau yn ebrwŷdd gan adel y llong a'u tâd, a'i canlŷnasant ef.

---

## *Sanct Thomas Apostol.*

### *Y Colect.*

HOll-alluog a bŷth fŷwiol Dduw, yr hwn, er mwŷ o sicrhawch y ffŷdd, a oddefaist i'th sanctaidd Apostol Thomas ammeu cyfodiad dy fab: Caniadha i ni cyn berffeithied, ac mor gwbl ddiammeu gredu yn dy Fab Jesu Grîst, fel na cherydder ein ffŷdd yn dy olwg bŷth: gwrando arnom, O Arglwŷdd, drwŷ yr unrhŷw Jesu Grîst, i ba un gyda thi a'r Yspryd glan a bô'r hôll anrhydedd a'r gogoniant, yr awron ac yn oes oesoedd. *Amen.*

*Yr Epiſtol. Ephesiaid. 2. 19.*

WEithian gan hynnŷ nid ydŷch chwi mwŷach yn ddieithriaid a dyfodiaid, ond yn gŷd-ddinaſyddion a'r Sainct, ac yn deulu Duw ; Wedi eich goruwch adeiladu ar ſail yr Apoſtolion a'r Prophwŷdi, ac Jeſu Grîſt ei hun yn ben-congl-faen : Yn yr hwn a mae yr hôll adeilad, wedi ei chymmwŷs gŷd gyſſylltu, yn cynnyddu yn Deml ſanct-aidd yn yr Arglwŷdd : Yn yr hwn i'ch cŷd-adeiladwŷd chwithau yn breſwŷlfod i Dduw trwŷ yr Yſprŷd.

*Yr Efengŷl. S. Joan.* 20. 24.

THomas, un or deuddeg, yr hwn a elwir Didimus, nid oedd gyda hwŷnt, pan ddaeth yr Jeſu. Y dyſcyb-lion eraill gan hynnŷ a ddywedaſant wrtho, Ni a welſom yr Arglwŷdd. Yn-tef a ddywedodd wrthŷnt, Oni chaf weled yn ei ddwŷlo ef ôl yr hoelion, a dodi fy mŷs yn ôl yr hoelion, a dodi fy llaw yn ei yſtlŷs ef, ni chredaf fi. Ac wedi wŷth niwrnod, drachefn yr oedd ei ddyſcyblion ef i mewn, a Thomas gyda hwŷnt. Yna yr Jeſu a ddaeth a'r dryſau yn gaead, ac a ſafodd yn y canol, ac a ddywedodd, Tangneddŷf i chwi. Wedi hynnŷ a dywedodd efe wrth Thomas, Moes ymma dy fŷs, a gwêl fy nwŷlo ; ac eſtŷn dy law, a dôd yn fy yſtlŷs, ac na fŷdd anghredadŷn, ond credadŷn. A Thomas a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Fy Arglwŷdd, a'm Duw. Yr Jeſu a ddywedodd wrtho, am i ti fy ngweled, Thomas, a credaiſt: bendigedig ŷw y rhai ni welſant, ac a gredaſant. A llawer hefŷd o arwŷddion eraill a wnaeth yr Jeſu yngwŷdd ei ddyſcyblion y rhai nid ydŷnt ſcrifennedig yn y llyfr hwn. Ond y pethau hŷn a ſcrifennwŷd, fel a credoch chwi mai yr Jeſu ŷw Crîſt, Mab Duw, a chan gredu, a caffoch fywŷd yn ei enw ef.

*Troeiad S. Paul.*

*Y Colect.*

O Dduw, yr hwn drwŷ Bregethiad y gwŷnfŷdedig Apoſtol S. Paul a beraiſt i oleuni'r Efengŷl lewŷrchu tro yr holl fŷd, Caniadha, ni attolygwn i ti, allu o honom ni, gan ddal ei ryfedd ymchweliad mewn coffa, ddangos ein diolchgarwch i ti am yr unrhŷw, drwŷ ddilŷn y fendigedig athrawiaeth, yr hon a ddyſcodd efe trwŷ Jeſu Grîſt ein Har-glwŷdd. *Amen.*

*Yn llê'r Epiſtol. Actau. 9. 1.*

A Saul etto yn chwŷthu bygythiau a chelanedd, yn erbŷn dyſcyblion yr Arglwŷdd, a aeth at yr Archoffeiriad. Ac a ddeiſyfodd ganddo lythyrau i Dda-maſcus, at y Sŷnagogau, fel os cai efe nêb o'r ffordd hon, na gwŷr, na gwragedd, a gallai efe eu dwŷn hwŷ yn rhwŷm i Jeruſalem. Ac fel yr oedd efe yn ym-daith, bu iddo ddyfod yn agos i Dda-maſcus, ac yn ddiſymmwth llewŷrchodd o'i amgŷlch oleuni o'r nêf. Ac efe a ſyrthiodd ar y ddaiar, ac a glybu lais yn dywedŷd wrtho, Saul, Saul, pa ham yr wŷt yn fy erlid i? Yntef a ddywedodd, pwŷ wŷt ti, Arglwŷdd ; A'r Arglwŷdd a ddywedodd, Myfi ŷw Jeſu, yr hwn yr wŷt ti yn ei erlid : Caled ŷw i ti wingo yn erbŷn y ſymbylau. Ynteu gan grynu ac a braw arno, a ddywedodd, Arglwŷdd bêth a fynni di i mi ei wneuthur ; A'r Arglwŷdd a ddywedodd wrtho, Cyfod a dôs i'r ddinas, ac fe a ddywedir i ti p bêth ſŷ raid i ti ei wneuthur. A'r gwŷ oedd yn cŷd teithio ag ef, a ſafaſant y fûd, gan glywed y llais, ac heb wel nêb. A Saul a gyfododd oddiar y ddaia a phan agorwŷd ei lygaid ni welei nêb : ond hwŷ a'i tywŷſaſant ef erbŷ ei law, ac a'i dygaſant ef i mewn i Da maſcus. Ac efe a fu dridiau heb wel ac ni wnaeth na bwŷdta, nag yfed. A

yr oedd rhŷw ddyscybl yn Damascus, a'i enw Ananias. A'r Arglwŷdd a ddywedodd wrtho ef mewn gweledigaeth, Ananias. Yntef a ddywedodd, wele fi, Arglwŷdd. A'r Arglwŷdd a ddywedodd wrtho, Cyfod, a dôs i'r heol a elwir Uniawn, a chais yn nhŷ Judas un a'i enw Saul, o Tharsus: canŷs wele a mae yn gweddio: Ac efe a welodd mewn gweledigaeth ŵr a'i enw Ananias, yn dyfod i mewn, ac yn dodi ei law arno, fel a gwelei eilwaith. Yna yr attebodd Ananias, O Arglwŷdd, mi a glywais gan lawer am y gŵr hwn, faint o ddrygau a wnaeth efe i'th Sainct di yn Jerusalem: Ac ymma a mae ganddo awdurdod oddiwrth yr Arch-offeiriaid, i rwŷmo pawb sŷ'n galw ar dy enw di. A dywedodd yr Arglwŷdd wrtho: dôs ymaith, canŷs a mae hwn yn llestr etholedig i mi, i ddwŷn fy enw ger bron cenhedloedd, a brenhinoedd, a phlant Israel. Canŷs myfi a ddangosaf iddo pa faint o bethau sŷdd raid iddo ef eu dioddef, er mwŷn fy enw i. Ac Ananias a aeth ymaeth, ac a aeth i mewn i'r tŷ, ac wedi dodi ei ddwŷlo arno, efe a ddywedodd, Y brawd Saul, yr Arglwŷdd a'm hanfonodd i (Jesu yr hwn a ymddangosodd i ti ar y ffordd y daethost) fel a gwelŷch drachefn, ac i'th lanwer a'r Yspryd glân. Ac yn ebrwŷdd a syrthiodd oddiwrth ei lygaid ef, megis cenn, ac efe a gafodd ei olwg yn y man; ac efe a gyfododd, ac a fedyddiwŷd. Ac wedi iddo gymmerŷd bwŷd, efe a gryfhaodd. A bu Saul, gyda'r dyscyblion oedd yn Damascus, dalm o ddyddiau. Ac yn ebrwŷdd yn y Sŷnagogau, efe a bregethodd Grîst, mai efe ŷw Mab Duw. A phawb a'r a'i clybu ef, a synnasant ac a ddywedasant, ond hwn ŷw'r un oedd yn difetha yn Jerusalem, y rhai a alwent ar yr enw hwn, ac a ddaeth ymma er mwŷn hŷn, fel a dygei hwŷnt yn rhwŷm at yr Arch-offeiriaid; Ond Saul a gynnyddodd fwŷ fwŷ o nerth, ac a orchfygodd yr Iddewon oedd yn preswŷlio yn Damascus, gan gadarnhau mai hwn ŷw'r Crîst.

*Yr Efengŷl S. Matthew.* 19. 27.

PEter a attebodd ac a ddywedodd wrth yr Jesu, wele, nyni a adawsom bôb pêth, ac a'th ganlŷnasom di: bêth gan hynnŷ a fŷdd i ni; A'r Jesu a ddywedodd wrthŷnt, Yn wîr meddaf i chwi, a cewch chwi y rhai a'm canlŷnasoch i, yn yr adanedigaeth, pan eisteddo Mab y dŷn ar orsedd ei ogoniant, eisteddwch chwithau ar ddeuddeg gorsedd yn barnu deuddeg llwŷth Israel. A phôb un a'r adawodd dai, neu frodŷr, neu chwiorŷdd, neu dad, neu fam, neu wraig, neu blant, neu diroedd, er mwŷn fy enw i, a dderbŷn y can cymaint, a bywŷd tragywŷddol a etifedda ef. Ond llawer o'r rhai blaenaf a fyddant yn olaf: a'r rhai olaf yn flaenaf.

*Cyflawniad Crîst yn y Deml, yr hwn a elwir yn gyffredinol Puredigaeth y Sanctes Mair Forwŷn.*

Y *Colect.*

HOll-alluog a thragywŷddol Dduw, ni a attolygwn yn ufuddol i'th fawredd, megis ac ar gyfen i heddŷw a presentiwŷd yn y deml dy unig anedig fab yn sylwedd ein cnawd ni: fellu Caniadha ein presentio i ti a chalonnau pûr-lân, trwŷ'r unrhŷw Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

*Yn llê'r unrhŷw* Epistol. *Malachi.* 3. 1.

WEle fi yn anfon fy nghenad, ac efe a arloesa y ffordd o'm blaen i: ac yn ddisymmwth a daw'r Arglwŷdd, yr hwn yr ydŷch yn ei geisio, iw Deml; sef angel y cyfammod, yr hwn yr ydŷch yn ei chwennych: wele efe yn dyfod, mêdd Arglwŷdd y lluoedd. Ond pwŷ a oddef

Iachawdr. Gwellhewch eich buchedd, a byddwch mewn cariad perffaith a phawb; Fellu a byddwch weddus gyfrannogion o'r dirgeledigaethau sancteiddiol hyn. Ac oflaen pôb pêth a mae yn rhaid i chwi roddi goſtyngeiddiaf a charedigcaf ddiolch i Dduw Tâd, y Mâb, a'r Yſpryd glân, am brynedigaeth y Bŷd, drwy angeu a dioddefaint ein Iachawdr Crîst, Duw a dŷn, yr hwn a ymoſtyngodd i angeu ar y groes droſom ni bechaduriaid truain, y rhai oeddŷm yn gorwedd mewn tywŷllwch a chyſcod angeu, fel a gallei efe ein gwneuthur ni yn blant i Dduw, a'n dyrchafael i fywŷd tragywŷddol. Ac er cofio o honom yn waſtad ddirfawr gariad ein Harglwŷdd a'n hunig Iachawdr Jeſu Grîst fel hŷn yn marw droſom, a'r aneirif ddonniau daionus, y rhai drwŷ dywallt ei werthfawr waed a ennillodd efe i ni: efe a oſododd, ac a ordeiniodd ſanctaidd ddirgeledigaethau, fel Gwŷſtlon o'i gariad, a gwaſtadol gôf am ei angeu er mawr ac anherfynawl gyſur i ni. Gan hynnŷ iddo ef, gyda'r Tâd, a'r Yſprŷd glân, rhoddwn (fel yr ŷm rwŷmedigcaf) waſtadol ddiolch, gan ymoſtwng yn gwbl iw ſanctaidd ewŷllys ef: a myfyrio ei waſanaethu ef mewn gwîr ſancteiddrwŷdd, a chyfiawnder, hôll ddyddiau ein heinioes. Amen.

¶ *Yna a dywed yr offeiriad wrth y rhai a fo yn dyfod i gymmerŷd y Cymmun bendigedig.*

CHwy-chwi y ſawl ſŷdd yn wîr, ac yn ddifrifol yn edifarhau am eich pechodau, ac ſŷdd mewn cariad perffaith a'ch cymmydogion, ac yn meddwl dilŷn buchedd newŷdd, a chanlŷn gorchymmynion Duw, a rhodio o hŷn allan yn ei ffŷrdd ſancteiddiol ef. Deuwch yn nês trwŷ ffŷdd, a chymmerwch y Sacrament ſancteiddiol hwn i'ch cyſuro, a gwnewch eich goſtyngedig gyffes i'r Hollalluog Dduw, gan oſtwng yn ufudd ar eich gliniau.

¶ *Yna a dywedir y gyffes gyffredin hon, yn enw pawb o'r rhai a ſyddont ar feddwl cymmerŷd y Cymmun bendigedig, gan un o'r Gweinidogion, yntef a'r bobl ôll yn goſtwng yn ufudd ar eu gliniau ac yn dywedŷd.*

HOllalluog Dduw, Tâd ein Harglwŷdd Jeſu Grîſt, gwneuthurwr pôb dim, barnwr pob dŷn, yr ŷm ni yn cydnabod, ac yn ymofudio dros ein amrŷw bechodau a'n hanwiredd, y rhai o ddŷdd i ddŷdd yn orthrwm a wnaethom, ar feddwl, gair, a gweithred, yn erbŷn dy Dduwiol fawredd, gan annog yn gyfiawnaf dy ddigofaint a'th fâr i'n herbŷn. Yr ydŷm yn ddifrifol yn edifarhau, ac yn ddrwg gan ein calonnau, dros ein camweithredoedd hŷn, eu coffa ſŷ drwm gennŷm, eu baich ſŷdd anrhaith ei oddef: Trugarha wrthŷm, trugarha wrthŷm, drugarogcaf Dâd, er mwŷn dy un Mâb ein Harglwŷdd Jeſu Grîſt, maddeu i ni yr hŷn ôll a aeth heibio, a chaniadha i ni allu bŷth o hŷn allan dy waſanaethu a'th fodloni, mewn newŷdd-deb buchedd, er anrhydedd a gogoniant dy enw; Trwŷ Jeſu Grîſt ein Harglwŷdd. Amen.

¶ *Yna yr offeiriad neu yr Eſcob [os bŷdd yn gydrychiol] a ſaif, a chan droi at y bobl, a ddatcan yr Abſoluſion hwn.*

HOllalluog Dduw, ein Tad nefawl, yr hwn o'i fawr drugaredd a addawodd faddeuant pechodau i bawb, gan edifeirwch calon a gwîr ffŷdd a ymchwel atto, a drugarhao wrthŷch, a faddeuo i chwi, ac a'ch gwaredo oddiwrth eich hôll bechodau, ac a'ch cadarnhao, ac a'ch cryfhao, ymhôb daioni, ac a'ch dygo i fywŷd tragywŷddol, trwŷ Jeſu Grîſt ein Harglwŷdd. Amen.

*Yn*

*Yn ôl hynnŷ y dywed yr Offeiriad.*

Gwrandewch pa rŷw eiriau cyssorddus a ddywed ein Iachawdr Crîst wrth bawb a wîr ymchwelont atto êf.

DEuwch attafi bawb ac sŷdd yn trafaelio, ac yn llwŷthog, a mi a esmwŷthâf arnoch.

Fellu y carodd Duw y bŷd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fâb, môdd nad elai nêb a gredai ynddo êf ynghyfyrgoll, ond caffael bywŷd tragywŷddol.

Gwrandewch hefŷd bêth a mae Sanct Paul yn ei ddywedŷd.

Hwn sŷdd air gwîr, a theilwng i bawb iw dderbŷn, ddyfod o Jesu Grîst i'r bŷd i iachâu pechaduriaid.

Gwrandewch hefŷd bêth a ddywaid Sanct Joan.

Os pecha nêb, mae i ni ddadleu-wr gydâ'r Tad, Jesu Grîst y cyfion; ac efe ŷw yr aberth dros ein pechodau.

¶ *Yn ôl y rhai hŷn yr â yr Offeiriad rhagddo, gan ddywedŷd.*

Derchefwch eich calonnau.

*Atteb.* Yr ydŷm yn ei derchafu i'r Arglwŷdd.

*Yr Offeiriad.* Diolchwn i'n Harglwŷdd Dduw.

*Atteb.* Mae yn addas, ac yn gyfiawn gwneuthur hynnŷ.

¶ *Yna yr Offeiriad a drŷ at Fwrdd yr Arglwŷdd, ac a ddywed:*

YMae yn gwbl addas, yn gyfiawn, a'n rhwymedig ddyled ni ŷw, bôb amser, ac ymhôb llê ddiolch i ti Arglwŷdd [*Sancteiddiol Dâd*] Oll-alluog, Dragywŷddol Dduw.

*Y geiriau hŷn.* [Sancteiddiol Dâd] *a adewir heibio ar Sûl y Drindod.*

¶ *Ymma y canlŷn y rhagymadroddion priodawl wrth yr amser, os bŷdd yr un wedi ei osod yn yspysawl. Ac onid e, yn ddi-dor y canlŷn.*

GAn hynnŷ gydag Angelion ac Archangelion, a chydag ôll gwmpeini nêf, y moliannwn, ac y mawrhawn dy ogoneddus Enw, gan dy foliannu yn wastad a dywedŷd, Sanct, Sanct, Sanct, Arglwŷdd Dduw y lluoedd. Nêf a daiar sŷdd yn llawn o'th ogoniant: gogoniant a fô i ti O Arglwŷdd goruchaf. Amen.

¶ *Rhagymadroddion priawd.*

¶ *Ar ddŷdd Natalic Crîst, a saith niwrnod gwedi.*

AM i ti roddi Jesu Grîst dy un Mâb iw eni ar gyfer yr amser ymma drosom ni: yr hwn trwŷ weithrediad yr Yspryd glan a wnaethwŷd yn wîr ddŷn, o hanfod y forwŷn Mair ei fam, a hynnŷ heb ddim pechod, i'n gwneuthur ni yn lân oddiwrth bôb pechod. Gan hynnŷ gydag Angelion ac Arch-angelion, &c.

¶ *Ar ddŷdd Pâsc, a saith niwrnod gwedi.*

ONid yn bendifaddef, yr ŷm yn rhwŷmedig i'th foliannu, dros anrhydeddus gyfodiad dy Fâb Jesu Grîst ein Harglwydd: Canŷs efe ŷw'r gwîr oen Pâsc, yr hwn a offrymwŷd drosom, ac a ddileodd bechod y Bŷd, yr hwn trwŷ ei angeu ei hun a ddinistriodd angeu, a thrwŷ ei adgyfodiad i fywŷd a adferodd i ni fywŷd tragywŷddol: Gan hynnŷ gydâg Angelion, &c.

¶ *Ar ddŷdd y Derchafael, a saith ddŷdd gwedi.*

TRwŷ dy anwŷl garedigcaf Fâb Jesu Grîst ein Harglwŷdd, yr hwn yn ôl ei anrhydeddus gyfodiad, a ymddangosodd yn eglur iw hôll Apostolion, ac yn eu golwg a escynnodd i'r nefoedd,

i barodtoi lle i ni, megis lle y mae efe, yno yr escynnom ninnau hefŷd, ac y teyrnasom gydag êf mewn gogoniant: Gan hynnŷ gydâg Angelion, &c.

¶ *Ar ddŷdd Sulgwŷn, a chwe diwrnod ar ôl.*

TRwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd, oddiwrth yr hwn yn ôl ei gywiraf addewid y descynnodd yr Yspryd glân ar gyfer yr amser ymma o'r nêf a disymmwth sŵn mawr megis gwŷnt nerthol, ar wêdd tafodau tanllŷd: gan ddiscŷn ar yr Apostolion iw dyscu hwŷnt, ac iw harwain i bôb gwirionedd, gan roddi iddŷnt ddawn amrŷw ieithoedd, a hyder hefŷd gydâ chariad gwresog, yn ddyfal i bregethu yr Efengŷl i'r hôll genhedloedd, trwŷ yr hŷn i'n dygwŷd allan o dywŷllwch, a chyfeiliorni, i'th eglur oleuni, ac i wîr wŷbodaeth am danat ti, a'th Fab Jesu Grîst. Gan hynnŷ gydâg Angelion, &c.

¶ *Ar ŵyl y Drindod yn unig.*

YR hwn wŷt un Duw, un Arglwŷdd, nid un person yn unig, onid tri pherson mewn un sylwedd. Canŷs yr hŷn ydŷm yn ei gredu am ogoniant y Tâd, hynnŷ yr ydŷm yn ei gredu am y Mâb, ac am yr Yspryd glân, heb na gwahaniaeth, nac anghymmedrolder. Gan hynnŷ gydâg, &c.

¶ *Ar ôl pôb un o'r Rhagymadroddion hŷn yn ddi-dor y cenir neu y dywedir.*

GAn hynnŷ gydag Angelion ac Archangelion, a chydag ôll gwmpeini nêf, y moliannwn, ac y mawrhâwn dy ogoneddus Enw, gan dy foliannu yn wastad a dywedŷd, Sanct, Sanct, Sanct, Arglwŷdd Dduw'r lluoedd. Nêf a daiar sŷdd yn llawn o'th ogoniant: gogoniant a fô i ti O Arglwŷdd goruchaf. Amen.

¶ *Yna yr Offeiriad ar ei liniau wrth fwrdd yr Arglwŷdd, a ddywed yn enw yr hôll rai a gymmerant y Cymmun, y weddi hon y sŷdd yn canlŷn.*

NId ŷm ni yn rhyfygu dyfod i'th fwrdd di ymma drugarog Arglwŷdd, drwŷ ymddiried yn ein cyfiawnder ein hunain, ond yn dy aml a'th ddirfawr drugaredd di, nid ydŷm ni deilwng cymmaint ag i gasclu'r briwsion tan dy fwrdd di: Ond tydi ŷw yr un Arglwŷdd, yr hwn a bia o briodoldeb yn wastad drugarhâu, Caniadhâ i ni gan hynnŷ Arglwŷdd grasawl, fellu fwŷdta cnawd dy anwŷl Fâb Jesu Grîst, ac yfed ei waed êf, fel y gallo ein cŷrph pechadurus gael eu gwneuthur yn lân drwŷ ei gorph êf, a'n heneidiau eu golchi drwŷ ei werthfawroccaf waed êf, fel y gallom bŷth drigo ynddo êf, ac ynteu ynom ninnau. Amen.

¶ *Pan ddarffo i'r Offeiriad (yn sefŷll wrth y Bwrdd fellu) drefnu y Bara a'r Gwin, fel y gallo yn barodtach ac yn weddeiddach dorri y Bara yngwŷdd y Bobl, a chymmerŷd y Cwppan iw ddwŷlo, efe a ddywŷd weddi y Cyssegriad, fel y mae yn canlŷn.*

HOll-alluog Dduw ein Tâd nefol, yr hwn o'th dyner drugaredd a roddaist dy un Mâb Jesu Grîst i ddioddef angeu ar y groes er ein prynu, yr hwn a wnaeth yno (trwŷ ei offrymiad ei hun yn offrymedic unwaith) gyflawn, berffaith, a digonawl aberth, offrwm, ac iawn, dros bechodau yr hôll fŷd; ac a ordeiniodd, ac yn ei sanctaidd Efengŷl a orchymynnodd i ni gadw tragywŷddol goffa am ei werth-fawr angeu hynnŷ, nes ei ddyfod drachefn. Gwrando ni drugarog Dâd, ni attolygwn i ti, a chaniadhâ i ni, gan gymmerŷd dy greaduriaid hŷn o fara a gwîn, yn ôl sanctaidd ordinhâd dy Fâb Jesu Grîst ein Iachawdr,

a côf am ei angeu a'i ddioddefaint, allu bôd yn gyfrannogion o'i fendigedig gorph a'i waed. Yr hwn ar y nôs honno y bradychwŷd, [a] a gymmerth fara, ac wedi iddo ddiolch [b] Efe a'i torrodd, ac a'i rhoddodd iw ddyfcyblion, gan ddywedŷd: Cymmerwch bwŷdtewch, [c] hwn ŷw fy nghorph yr hwn yr ydŷs yn ei roddi drosoch, gwnewch hŷn er côf am danaf. Yr un môdd gwedi swpper [d] êfe a gymmerth y cwppan, ac wedi iddo ddiolch êfe a'i rhoddodd iddŷnt gan ddywedŷd, Yfwch o hwn bawb, canŷs hwn [e] ŷw fy ngwaed o'r Testament newŷdd, yr hwn yr ydŷs yn ei dywallt drosoch, a thros lawer er maddeuant pechodau: gwnewch hŷn cynnifer gwaith ag ei hyfoch er côf amdanaf. Amen.

[a] *Yma y cymmer yr Offeiriad y ddysgl iw ddwŷlo.*

[b] *Ac yma efe a dŷrr y Bara.*

[c] *Ac yma y dŷd ei law ar yr hôll fara.*

[d] *Ymma y cymmer y Cwppan iw law.*

[e] *Ac ymma y dŷd ei law ar bôb llestr, Cwppan, neu fflagon yn yr hwn y bô dim gwîn iw gyssegru.*

¶ *Ymma y gweinidog a gymmer y Cymmun yn gyntaf yn y ddau rŷw ei hun, ac yna'r aiff ymlaen i roddi yr unrhŷw i'r Escobion, Offeiriaid a Diaconiaid yr un môdd (os bŷdd yr un yn bresennol.) Ac wedi hynnŷ i'r bobl hefŷd mewn trefn iw dwŷlaw, a phawb yn ostyngedig ar eu gliniau. A phan roddo y Bara i bôb un, efe a ddywed;*

CОrph ein Harglwŷdd Jesu Grîst, yr hwn a roddwŷd drosot ti, a gadwo dy gorph a'th enaid i fywŷd tragywŷddol: Cymmer, a bwŷdta hwn er côf farw o Grîst drosot ti, ac ymborth arno yn dy galon drwŷ ffŷdd, gan roddi diolch.

¶ *A'r Gweinidog a fô yn rhoddi y cwppan i bôb un a ddywed,*

GWaed ein Harglwŷdd Jesu Grîst, yr hwn a dywalltwŷd drosot ti, a gatwo dy gorph a'th enaid i fywŷd tragywŷddol: ŷf hwn er côf tywallt gwaed Crîst trosot ti, a bŷdd ddiolchgar.

¶ *Os bŷdd y Bara neu'r Gwîn cyssegredig wedi eu treulio ôll cŷn cymmuno o bawb, cyssegred yr Offeiriad ychwaneg yn ôl y dull uchod, gan ddechreu ar* (Ein Iachawdr Crîst y nôs, &c.) *i fendigo y Bara. Ac ar* (Yr un môdd gwedi Swpper &c.) *i fendigo y Cwppan.*

¶ *Pan fô pawb wedi Cymmuno, y Gweinidog a ddychwel at Fwrdd yr Arglwŷdd, a thrwŷ barch a esŷd arno a fô yngweddill o'r Elementau cyssegredig gan danu lliain glân trostŷnt.*

¶ *Yna yr Offeiriad a ddywed weddi yr Arglwŷdd, a'r bobl yn adrodd pôb arch o honi ar ei ôl ef.*

EIn Tâd yr hwn wŷt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Delet dy deŷrnas. Bydded dy ewŷllŷs ar y ddaiar megis y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel a maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nag arwain ni i brofedigaeth; Ond gwared ni rhag drŵg: Canŷs eiddot ti ŷw'r Deŷrnas a'r gallu a'r gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

¶ *Wedi hynnŷ y dywedir fel y canlŷn.*

O Arglwŷdd, a nefawl Dâd, yr ydŷm ni dy ostyngedig weision yn cwbl ddeisyfu ar dy dadol ddaioni yn drugarog dderbŷn ein haberth hŷn o foliant a diolch, gan erfŷn arnat yn ostyngeiddiaf, ganiadhâu bôd trwŷ ryglyddon

ac angeu dy Fâb Jeſu Grîſt, a thrwŷ ffŷdd yn ei wead ef, i ni ac i'th hôll Eglwys gael maddeuant o'n pechodau, a phob donniau eraill o'i ddioddefaint ef. Ac ymma yr ŷm yn offrwm ac yn cynnhyrchu; i ti O Arglwŷdd, ein hunain, ein heneidiau, a'n cyrph, i fod yn aberth rheſymmol, ſanctaidd, a bywiol i ti, gan attolygu i ti yn oſtyngedig fod i bawb o honom ar ſŷ gyfrannogion o'r Cymmun bendigaid hwn; gael ein cyflawni â'th rad, ac â'th nefol fendith. Ac er ein bod ni yn annheilwng drwŷ ein hamrafaelion bechodau, i offrwm i ti un aberth: etto ni a attolygwn i ti gymmeryd ein rhwŷmedig ddylêd, a'n gwaſanaeth hyn, nid gan bwŷſo ein haeddedigaethau, onid gan faddeu ein pechodau, trwŷ Jeſu Grîſt ein Harglwŷdd, trwŷ yr hwn, a chyda'r hwn, yn undod yr Yſprŷd glân, hôll anrhydedd a gogoniant a fyddo i ti Dâd hollalluog, yn oes oeſoedd. Amen.

¶ *Neu hŷn.*

HOll-alluog, a bŷth-fŷwiol Dduw, yr ydŷm ni yn dirfawr ddiolch i ti, am fod yn wiw gennit ein porthi ni y rhai a gymmeraſom yn ddyledus y dirgeledigaethau ſancteiddiol hyn, ag yſprydawl ymborth gwerthfawroccaf gorph a gwaed dy Fâb ein Iachawdr Jeſu Grîſt, ac wŷt yn ein ſiccrhau ni drwy hynny o'th ymgeledd, ac o'th ddaioni i ni, a'n bôd yn wîr aelodau wedi ein corpholaethu yn nirgel gorph dy Fab, yr hwn ŷw gwŷnfŷdedig gynnulleidfa yr holl ffyddlon bobl, a'n bôd hefyd trwy obaith yn etifeddion dy deŷrnas dragywŷddol, gan haeddedigaethau gwerthfawroccaf angeu a dioddefaint dy anwŷl Fâb: Ac yr ŷm ni yn oſtyngedig yn attolygu i ti O nefawl Dâd, fellu ein cynnorthwŷo ni a'th râd, fel y gallom yn waſtad aros yn y ſanctaidd gymdeithas honno, a gwneuthur pôb rhŷw weithredoedd dâ ag a ordeiniaiſt i ni rodio ynddŷnt, trwŷ Jeſu Grîſt ein Harglwŷdd, i'r hwn gyda thi a'r Yſprŷd glân, y bô hôll anrhydedd, a gogoniant yn dragywŷddol. Amen.

¶ *Yna y dywedir, neu y cenir.*

GOgoniant i Dduw yn yr uchelder, ac yn y ddaiar tangneddŷf, ewŷllŷs dâ i ddynnion. Ni a'th addolwn, ni a'th fendithiwn, ni a'th ogoneddwn, i ti y diolchwn am dy fawr ogoniant Arglwŷdd Dduw, frenin nefol, Duw Tâd Holl-alluog.

Arglwŷdd, yr unig genhedledig Fâb Jeſu Grîſt, Arglwŷdd Dduw, Oen Duw, Fab y Tâd, yr hwn wŷt yn dileu pechodau y Bŷd, trugarhâ wrthŷm. Ti yr hwn wŷt yn dileu pechodau'r Bŷd. Trugarhâ wrthŷm. Ti yr hwn wŷt yn dileu pechodau y Bŷd, derbŷn ein gweddi. Ti yr hwn wŷt yn eiſtedd ar ddeheu-law Dduw Tâd, trugarhâ wrthŷm.

Canŷs ti yn unig wŷt ſanctaidd, ti yn unig wŷt Arglwŷdd, ti yr unig Grîſt, gyda'r Yſprŷd glân wŷt oruchaf yngogoniant Duw Tâd. Amen.

¶ *Yna yr Offeiriad (neu yr Eſcob os bŷdd yn breſennol) a ollwng y bobl ymaith â'r fendith hon.*

TAngneddŷf Dduw yr hwn ſŷdd uwchlaw pôb deall, a gadwo eich calonnau a'ch meddyliau yngwŷbodaeth a chariad Duw a'i Fâb Jeſu Grîſt ein Harglwŷdd. A bendith Dduw Hollalluog, y Tâd, y Mâb, a'r Yſprŷd glân, a fyddo i'ch plith, ac a drigo gydâ chwi yn waſtad. Amen.

¶ *Y Colectau iw dywedŷd yn ôl yr offrymiad, prŷd na bô un Cymmun, bôb rhŷw ddiwrnod, un neu ychwaneg. A'r un*

*rhai*

*rhai a ellir eu dywedyd hefyd cynnifer amser ac y byddo achos yn gwasanaethu, y Colectau ar y foreuol neu'r Brydnhawnol weddi, y Cymmun, neu y Letani, fel y gwelo y Gweinidog fod yn gymhesur.*

CYnnorthwŷa ni yn drugarog Arglwŷdd, yn ein gweddiau hŷn, a'n erfŷniau, a llywodraetha ffordd dy wasanaeth-ddynion, tuagat gaffaeliad iechŷd tragywŷddawl, fel ymmŷsc holl gyfnewidiau a damweiniau y bywŷd marwol hwn, y gallont bŷth gael eu hamddiffyn drwŷ dy radlawnaf a'th barodtaf borth, trwy Jesu Grîst ein Harglwŷdd. Amen.

HOll-alluog Arglwŷdd, a bŷth-fŷwiol Dduw, ni a attolygwn i ti fod yn wiw gennit uniawni, sancteiddio, a llywodraethu ein calonnau a'n cŷrph, yn ffŷrdd dy ddeddfau ac yngweithredoedd dy orchymmynnion, megis trwŷ dy gadarnaf nodded, ymma ac yn dragywŷddol, y gallom fôd yn gadwedig gorph ac enaid, trwŷ ein Harglwŷdd a'n Iachawdr Jesu Grîst. Amen.

CAniadha, ni attolygwn i ti Holl-alluog Dduw, am y geiriau a glywsom heddŷw a'n clustiau oddiallan, eu bôd fellu drwŷ dy rad, wedi eu plannu yn ein calonnau oddimewn, fel y gallont ddwŷn ynom ffrwŷth buchedd ddâ, er anrhydedd a moliant i'th Enw, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. Amen.

RHag-flaena ni, O Arglwŷdd, yn ein hôll weithredoedd, â'th radlonaf hoffder, a rhyddhâ ni â'th barhaus gymmorth, fel yn ein hôll weithredoedd dechreuedig, annherfŷnedig, a therfŷnedig ynot ti, y gallom foliannu dy sanctaidd Enw, ac yn y diwedd gael gan dy drugaredd fywŷd tragywŷddol, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

HOll-alluog Dduw, ffynnon ŷr hôll ddoethineb, yr hwn wŷt yn gwŷbod ein hangenrheidiau cŷn eu gofynnom, a'n hanwŷbodaeth yn gofŷn: Ni a attolygwn i ti, dosturio wrth ein gwendid, a'r pethau hynnŷ, y rhai oblegid ein hannheilyngdod ni feiddiwn, ac oblegid ein dallineb ni fedrwn eu gofŷn, fod yn deilwng gennit eu rhoddi i ni er teilyngdod dy Fâb Jesu Grîst ein Harglwŷdd. Amen.

HOll-alluog Dduw, yr hwn a addewaist wrando eirchion y rhai a ofynnant yn Enw dy Fâb, ni a attolygwn i ti ostwng yn drugarog dy glustiau attom ni, y rhai a wnaethom yr awr hon ein gweddiau a'n erfynion attat, a chaniadha am y pethau hŷn a archasom yn ffyddlawn yn ôl dy ewyllys, allu o honom eu caffael yn hollawl, i borthi ein hangen, ac er eglurhau dy ogoniant, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. Amen.

¶ *Ar y Sulian a gwŷliau eraill oni bŷdd Cymmun, y dywedir y cwbl ag a osodwŷd ar y Cymmun, hŷd ddiwedd y weddi gyffredin* ( dros holl ystâd Eglwŷs Crist yn milwrio ymma ar y ddaiar ) *ac un neu ychwaneg o'r Colectau a adroddwŷd uchod, gan ddibennu a'r fendith.*

¶ *Ac ni bŷdd gwasanaethu Swpper yr Arglwŷdd, oddieithr bôd nifer cymmwŷs o bobl i gymmuno gŷdâ'r offeiriad, fel y gwelo efe fôd yn iawn.*

¶ *Ac oni bŷdd mwŷ nag ugein-nŷn yn y plwŷf, o bwŷll i gymmerŷd y Cymmun, etto ni bŷdd un Cymmun, oni bŷdd pedwar, neu dri o'r lleiaf i gymmuno gydâ'r offeiriad.*

¶ *Ac mewn Eglwŷsŷdd Cadeiriol, Colegiat, a Cholegau, lle byddo llawer o Offeiriaid, a Diaconiaid, cymmerant hwŷ ôll y Cymmun*

*Cymmun gyda'r offeiriad bôb Sûl o'r lleiaf, oni bŷdd ganddŷnt achos rhesymmol i'r gwrthwŷneb.*

¶ *Ac er dileu pôb achos o ymryson ac ofergoel sŷdd, neu a allo fôd gan nêb yn y bara a'r gwîn, fe a wasanaetha bôd y bara yn gyfryw ag sŷdd arferedig iw fwŷdta ond y bara gwenith o'r gorau a'r puraf ag a aller ei gael yn gymmwŷs.*

¶ *Ac os bŷdd dim o'r Bara a'r gwîn heb ei gyssegru tros ben, y Curat a'i Caiff iddo ei hun. Ond os bŷdd dim o'r hŷn a gyssegrwŷd yngweddill, ni ddygir dim o hono allan o'r Eglwŷs, Ond yr offeiriad, a chyfrŷw o'r Cymmunwŷr ag a eilw efe atto, a fwŷdtânt ac a yfant yr unrhŷw drwŷ barch, yn ebrwŷdd ar ôl y fendith.*

¶ *Y bara a'r gwîn i'r Cymmun a barodtoir gan y Curat a wardeniaid yr Eglwŷs, ar gôst y plwŷf.*

¶ *Noda hefŷd fôd i bôb plwŷfol Gymmuno o'r lleiaf dair gwaith yn y flwŷddŷn, ac o hynnŷ bôd y Pâsc yn un; A'r Pâsc bôb blwŷddŷn bôd i bôb plwŷfol gyfrif a'i* Berson, Ficar, *neu ei Gurat, neu ei brocurator, neu ei brocuratoriaid, a thalu iddŷnt, neu iddo êf yr hôll ddyledion Eglwŷsig a fô yn arferedig, yn ddyledus yna, ar yr amser hynnŷ iw talu.*

¶ *Pan orphenner gwasanaeth Duw, yr Arian a roddwŷd ar yr offrymmiadau a ddosperthir i rŷw wasanaeth duwiol a chardodawl, fel y bô i'r Gweinidog a wardeiniaid yr Eglwŷs weled yn gymmwŷs: Os hwŷ ni chydtunant yn hynnŷ, dosparther hwŷnt fel yr appwŷntio yr Ordinari.*

LLe yr ordeinir yn y gwasanaeth hŷn o Finistriad Swpper yr Arglwŷdd, bôd i'r Cymmunwŷr gymmeryd yr unrhŷw ar eu gliniau (yr hŷn a ordeinwŷd ar feddwl dâ, sef, yn arwŷddoccâad o'n hufudd a'n diolchgar gydnabod o ddonniau daionus Crîst a roddir ynddo i bôb cymmunwr addas, ac er gochelyd y cyfrŷw halogedigaeth ac anrhefn yn y Cymmun bendigedig a allai heb hŷn ddigwŷddo) er hynnŷ fel na bô i nêb, nag o anwŷbodaeth a gwendid gam gymmerŷd, nag o falais a chyndynrwŷdd anurddo yr arwŷdd hon o benlino; Yspyssir ymma na feddylier trwŷ hŷn, ac na ddylid gwneuthur dim addoliad, nag i fara a gwîn y Sacrament a gymmerir yno yn gorphorawl, nag i nêb rŷw gydrycholdeb corphorawl o anianol gnawd a gwaed Crîst. Canŷs a mae Bara a Gwîn y Sacrament yn aros yn wastad yn eu gwîn anianol ddefnyddiau, fel nad aller eu haddoli (Canŷs hynnŷ a fyddei Eulŷn addoliad iw ffieiddio gan bôb Cristion ffyddlon) Ac y mae corph a Gwaed anianol ein Iachawdr Crîst yn y nêf, ac nid ymma: Canŷs ni chŷdsai fôd Corph Crîst yn wîr anianol, a'i fôd ar yr un amser o fewn y chwaneg o fannau, nag un.

## Gweinidogaeth Bedydd Public Plant Bychain, iw arfer yn yr Eglwys.

¶ R*Hybuddier y bobl, fod yn gymhesuraf na wasanaether y Bedŷdd ond ar Suliau, a dyddiau gwŷlion eraill, pan fyddo y nifer mwŷaf o'r bobl yn dyfod ynghŷd, yn gystal, er mwŷn bôd i'r gynnulleidfa yno yn bresennol dystiolaethu derbyniad y saul a fedyddier yr amser hynnŷ, i nifer Eglwŷs Grist, a hefŷd oblegid ym medŷdd rhai bychain bôd i bôb dŷn a fô yno yn bresennol alw ei gôf atto am ei broffes ei hun a wnaeth i Dduw yn ei fedŷdd. O herwŷdd hynnŷ hefŷd y mae yn gymmhesur bôd gwasanaeth*

y

*y Bedydd yn yr iaith gyffredin. Ac er hyn ymma oll (os bydd angenrheidiol) fe ellir bedyddio rhai bychain ar bob dydd arall.*

¶ *A nodd y bydd i bob plentyn gwryw a fedyddier ddau Dâd bedydd ac un Fam fedydd, ac i bôb plentyn Benyw un Tâd bedydd a Dwy Fam fedydd.*

¶ *Pan fyddo plant iw bedyddio fe a ddylei eu tadau roddi rhybudd tros nôs, neu y boran cyn dechreu y foreuol weddi, i'r Curat. Bydded y tadau bedydd, a'r mammau bedydd, a'r bobl, yn barod wrth y bedyddfan, naill ai yn y man ar ôl y llith ddiweddaf o'r foreuol weddi, neu ynteu yn y man ar ôl y llith ddiweddaf ar y Brydnhawnol weddi, megis y gosodo y Curat yn ôl ei ystyriaeth ei hun. A'r Offeiriad yn dyfod at y Bydyddfan (yr hwn a lenwir yr amser hwnnw â dwfr glân) ac yn sefyll yno a ddywed.*

A fedyddiwyd y plentyn hwn eusys, ai na fedyddiwyd?

¶ *Os attebant,* Na ddô, *Yna aed yr Offeiriad rhagddo, fel y mae yn canlyn*

FY 'ngharedigion, yn gymmaint ac ymddwyn a geni pôb dyn mewn pechod, a bôd ein Iachawdr Crist yn dywedyd na ddichon nêb gael myned i mewn i deyrnas Dduw, oddieithr ei ail-eni ef o ddwfr ac o'r Yspryd glân; Attolwg yr wyf i chwi alw ar Dduw Tâd, trwy ein Harglwydd Jesu Grist, ar fod iddo o'i ddaionus drugaredd ganiatâu i'r plentyn hwn y pêth drwy nerth natur ni all ddyfod iddo, gael ei fedyddio â dwfr ac â'r Yspryd glân, a'i dderbyn i lân Eglwys Crist, a bôd yn aelod bywiol o'r unrhyw.

¶ *Yna y dywed yr Offeiriad.*

Gweddiwn.

HOll-alluog a thragywyddol Dduw, yr hwn o'th fawr drugaredd a gedwaist Noe a'i deulu yn yr Arch rhag eu cyfrgolli gan ddwfr; a hefyd a dwysaist yn ddiangol blant yr Israel dy bobl drwy y môr côch, gan arwyddoccâu wrth hynny dy lân fedydd; a thrwy fedydd dy garedig Fâb Jesu Grist yn afon yr Iorddonen a sancteiddiaist ddwfr er dirgel olchedigaeth pechodau: Attolygwn i ti er dy aneirif drugareddau, edrych o honot yn drugarog ar y plentyn hwn, ei sancteiddio a'i lânhau â'r Yspryd glân, fel y byddo iddo gael ei wared oddiwrth dy lîd, a'i dderbyn i Arch Eglwys Crist, a chan fôd yn gadarn mewn ffydd, yn llawen gan obaith, ac wedi ymwreiddio yngharîad perffaith, allu o hono fordwyo tros donnau y byd trallodus hwn, ac o'r diwedd, allu dyfod i dîr y bywyd tragywyddawl, yno i deyrnasu gyda thi heb drangc na gorphen, trwy Jesu Grist ein Harglwydd, Amen.

HOll-alluog ac anfarwol Duw, porth pôb anghenog, nawdd-wr pawb a gilio attat am gynhorthwy, bywyd y rhai a gredant, a chyfodiad y meirw: yr ŷm yn galw arnat tros y dyn bychan ymma, ar iddo yn dyfod i'th lân fedydd gael derbyn maddeuant o'i bechodau, drwy adanedigaeth ysprydol. Derbyn êf Arglwydd, megis yr addewaist trwy dy garedig Fâb, gan ddywedyd, Gofynnwch, a rhodbir i chwi, Ceisiwch, a chwi a gewch, Curwch ac fe agorir i chwi. Fellu yn awr dyro i ni, a ni yn gofyn; pâr i ni gael, a ni yn ceisio; agor y porth i ni sy'n curo; fel y gallo y dyn bychan ymma fwynhâu tragywyddol fendith dy nefol olchiad, a dyfod i'r deyrnâs dragywyddawl, yr hon a addewaist trwy Grist ein Harglwydd. Amen.

¶ Yna

¶ *Yna y bobl a safant ar eu traed, a'r Offeiriad a ddywed.*

Gwrandewch ar eiriau yr Efengŷl a scrifennodd Sanct Marc yn y ddegfed bennod, a'r trydŷdd wers ar ddêg.

HWŷ a ddygasant blant bychain at Grîst, fel y cyffyrddei efe â hwŷnt: a'r dyscyblion a gerŷddasant y rhai oedd yn eu dwŷn hwŷnt. A'r Jesu pan welodd hynnŷ fu anfodlon iawn, ac a ddywedodd wrthŷnt gadewch i blant bychain ddyfod attafi, ac na waherddwch hwŷnt: canŷs eiddo y cyfrŷw rai ŷw teŷrnas Dduw. Yn wîr meddaf i chwi, pwŷ bynnag ni dderbynnio deŷrnas Dduw fel dŷn bâch, nid â efe i mewn iddi. Ac efe a'u cymmerodd hwŷ yn ei freichiau, ac a ddododd ei ddwŷlaw arnŷnt, ac a'u bendithiodd.

¶ *Ar ôl darllen yr Efengŷl, y traetha y Gweinidog y cyngor bŷrr ymma ar eiriau yr Efengŷl.*

Y Caredigion, chwi glywch yn yr Efengŷl hon eiriau ein Iachawdr Crîst, yn gorchymmŷn dwŷn plant atto, pa wêdd y ceryddodd ef y rhai a fynnaseu eu cadw oddiwrtho; pa wêdd y cynghora ef i bôb dŷn ganlŷn eu gwiriondeb hwŷ. Yr ydŷch chwi yn deall, wrth ei agwedd êf a'i weithred, môdd y dangosodd ei ewŷllŷs dâ iddŷnt: canŷs efe a'i cofleidiodd hwŷ yn ei freichiau, efe a roddodd ei ddwŷlaw arnŷnt ac a'u bendithiodd hwŷnt. Nac amheuwch gan hynnŷ, ond credwch yn ddifrif, y cymmer ef yr un ffunŷd yn ymgeleddgar y dŷn bychan ymma, y cofleidia efe êf a breichi[illegible] ei drugaredd, y dyrŷ iddo fendith y bywŷd tragywŷddawl, ac y gwnâ êf yn g[illegible]annog o'i ddi-drangc deŷrnas. O h[illegible]ydd pa ham, gan ein bôd yn [illegible]edu fel hŷn am ewŷllŷs dâ ein Tâd nefol tuagat y dŷn bychan ymma wedi ei amlŷgu trwŷ ei Fâb Jesu Grîst; ac heb ddim ammeu gennŷm nad ŷw yn derbŷn yn rasusol ein gweithred garedigol hon o ddwŷn y plentŷn hwn i'w sanctaidd Fedŷdd êf; diolchwn yn ffyddlon, ac yn ddefoesionol iddo, gan ddywedŷd.

HOll-alluog a thragywŷddol Dduw, Nefol Dâd, yr ŷm ni yn ostyngedig yn diolch i ti fod yn wiw gennit ein galw i wŷbodaeth dy râs, a ffŷdd ynot: Ychwanega yr wŷbodaeth hon, a chadarnhâ y ffŷdd hon ynom yn wastad; dyro dy Ysprŷd glân i'r dŷn bychan ymma fel y ganer ef eilwaith, a'i wneuthur yn etifedd Iechŷd tragywŷddol, trwŷ ein Harglwŷdd Jesu Grîst, yr hwn sŷdd yn bŷw, ac yn teŷrnasu gydâ thi, a'r Ysprŷd glân, yr awr hon ac yn dragywŷdd. Amen.

¶ *Yna dyweded yr Offeiriad wrth y Tadau-bedŷdd, a'r Mammau-bedŷdd, yn y môdd hŷn.*

ANwŷl Garedigion bobl, chwi a ddygasoch y plentŷn hwn ymma i'w fedyddio, chwi a weddiasoch ar fôd yn wiw gan ein Harglwŷdd Jesu Grîst ei dderbŷn êf, a maddeu iddo ei bechodau, a'i sancteiddio â'r Ysprŷd glân: a rhoddi iddo deŷrnas nefoedd, a bywŷd tragywŷddol. Chwi a glywsoch hefŷd ddarfod i'n Harglwŷdd Jesu Grîst addo yn ei Efengŷl ganiadhau yr hôll bethau hŷn a weddiasoch chwi am danŷnt: yr hwn addewid efe o'i ran êf a'i ceidw yn wîr ddiogel, ac a'i cwblhâ. O herwŷdd pa achos yn ôl yr addewid hwn a wnaeth Crîst, rhaid ŷw i'r dŷn bychan ymma yn ffyddlon ar ei ran ynteu addo trwochchwi sŷ feichiau drosto [ hŷd oni ddêl i mewn oedran iw gymmerŷd arno ei hun ] ymwrthod â diafol, a'i hôll weithredoedd, ac yn wastad credu gwŷnfŷdedig air Duw, ac yn ufudd gadw ei orchymynnion.

Am hynnŷ y gofynnaf.

A Ydwŷt ti yn enw y plentŷn hwn yn ymwrthod â diafol, ac a'i hôll weithredoedd, coeg rodres, a gwâg-orfoledd y bŷd, a'i hôll chwantau cybyddus, anyſprydol ewŷllŷs y cnawd, fel na ddilynech hwŷnt, ac na'th dywŷſer ganddŷnt?

*Atteb.* Yr ydwŷf yn ymwrthod â hwŷnt ôll.

*Gweinidog.*

A Wŷt ti yn credu yn Nuw Tâd Holl-gyfoethog Creawdr nêf a daiar? Ac yn Jeſu Grîſt ei un Mab êf ein Harglwŷdd ni? A'i genhedlu o'r Yſprŷd glân? A'i eni o Fair forwŷn; iddo ddioddef dan Pontius Pilatus, ei groeſhoelio, ei farw a'i gladdu? diſcŷn o hono i Uffern, a'i gyfodi y trydŷdd dŷdd, ac eſcŷn o hono i'r Nefoedd, a'i fôd yn eiſtedd ar ddeheulaw Dduw Tâd Holl-alluog, ac y daw efe oddiyno yn niwedd y bŷd i farnu bŷw a meirw? A wŷt ti yn credu yn yr Yſprŷd glân, yr Eglwŷs lân Gatholic, Cymmun y Sainct, maddeuant pechodau; adgyfodiad y cnawd, a bywŷd tragywŷddol gwedi angeu?

*Atteb.* Hŷn ôll yr ŵŷf yn ei gredu yn ddilŷs.

*Gweinidog.* A Fynni di dy fedyddio yn y ffŷdd hon.

*Atteb.* Hynnŷ ŷw fy ewŷllŷs.

*Gweinidog.* A Gedwi ditheu yn ufudd lân ewŷllŷs Duw a'i Orchymmynion, gan rodio yn yr unrhŷw hôll ddyddiau dy fywŷd?

*Atteb.* Gwnâf.

¶ *Yna y dywed yr Offeiriad.*

O Drugarog Dduw, caniadha fellu gladdu yr hên Adda yn y plentŷn hwn, fel y cyfoder y dŷn newŷdd ynddo êf. Amen.

Caniadha fôd i hôll chwantau'r cnawd farw ynddo, ac i bôb pêth a berthŷn i'r Yſprŷd allu bŷw a chynnyddu ynddo. Amen.

Caniadha fôd iddo nerth a gallu i gael yr oruchafiaeth, a'r gorfod yn erbŷn diafol, y bŷd, a'r cnawd. Amen.

Caniadha fod i bwŷ bynnag y ſŷdd ymma wedi ei gyſſegru i ti trwŷ ein ſwŷdd a'n gweinidogaeth ni, allu hefŷd fôd yn gynyſcaeddol o rinweddau nefol, a bôd iddynt gael eu tragywŷddol obrwŷau drwŷ dy drugaredd, O fendigedig Arglwŷdd Dduw, yr hwn wŷt yn bŷw, ac yn llyfodraethu pôb pêth, yn oes oeſoedd. Amen.

H Oll-gyfoethog, fŷth-fŷwiol Dduw yr hwn y bu i'th garedigcaf Fâb Jeſu Grîſt dros faddeuant o'n pechodau, oddef gollwng o'i werth-fawr yſtlŷs ddwfr a gwaed, a rhoddi gorchymmŷn iw ddyſcyblion fyned a dyſgu pob cenedl, a'u bedyddio yn Enw y Tâd, a'r Mab, a'r Yſprŷd glân: Yſtyria attolygwn i ti wrth weddiau dy gynnulleidfa, ſancteiddia y dwfr hwn er dirgel olchedigaeth pechodau, a chaniadha fôd i'r plentŷn hwn a fedyddir yr awr hon ynddo, dderbŷn cyflawnder dy râs, ac aros bŷth yn nifer dy ffyddlon blant etholedig, trwŷ Jeſu Grîſt ein Harhlwŷdd. Amen.

¶ *Yna y cymmer yr Offeiriad y dŷn bychan yn ei ddwŷlaw, ac a ddywed wrth y Tadau bedŷdd a'r Mammau bedŷdd.*

Henwch y plentŷn.

*Ac yna gan ei enwi ar eu hôl hwŷ ( Os hwŷ a yſpyſant y gall y plentŷn ddio[illegible] hynnŷ yn ddâ ) efe a'i trocha ef y[illegible]r yn ddieſceulus, ac yn ddarbodus, g[illegible]dŷd.*

E Yr ydwŷf yn dy fedyddio [illegible] Enw'r Tâd, a'r Mab, a'r Yſprŷd glân. Amen.



¶ *Ac*

¶ *Ac os ypſyſant ſod y plentyn yn wan, digon ſydd Bwrw dwfr arno, gan ddywedyd y geiriau dywededig ucha.*

E Yr ydwyfi yn dy fedyddio di yn Enw'r Tad, a'r Mâb, a'r Yſprŷd glan. Amen.

¶ *Yna y dywed yr Offeiriad.*

YR ydŷm ni yn derbŷn y plentŷn hwn i gynnulleidfa defaid Crîſt, ac yn ei * nodi êf ag arwŷdd y grog, yn arwŷddoccâd na bô iddo rhag llaw gymmerŷd yn gywilŷdd gyffeſſu ffŷdd Crîſt a groeſhoelwŷd, ac iddo ymladd yn ŵrol tan ei faner êf yn erbŷn pechod, y bŷd, a'r cythrael, a pharhau yn filŵr ffyddlawn ac yn wâs i Grîſt, hôll ddyddiau ei einioes. Amen.

** Ymma yr Offeiriad a wneiff groes yn nhalcen y dŷn bâch.*

¶ *Yna y dywed yr Offeiriad.*

GAn ddarfod yn awr, garedigion frodŷr, adeni, a dodi y plentŷn hwn ynghorph Eglwŷs Crîſt, diolchwn ninnau i'r Holl-alluog Dduw am ei ddaioni hŷn, ac o gŷd-undeb gwnawn ein gweddiau ar y Goruchaf Dduw, ar fôd iddo ddiweddu y rhan arall o'i fywŷd yn ôl hŷn o ddechreuad.

¶ *Yna a dywedir a phawb ar eu gliniau:*

EIn Tâd yr hwn wŷt yn y nefoedd, ſancteiddier dy Enw. Delet dy Deŷrnas. Bydded dy ewŷllŷs ar y ddaiar megis y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddŷw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nag arwain ni i brofedigaeth; Ond gwared ni rhag drwg. Amen.

¶ *Yna y dywed yr Offeiriad.*

MAwr ddiolchwn i ti drugaroccaf Dâd, ryngu bôdd it i adeni y plentŷn hwn a'th Yſprŷd glân, a'i dderbŷn yn blentŷn i ti dy hûn trwŷ fabwŷs, a'i gorphori i'th lân Eglwŷs. Ac yn oſtyngedig yr attolygwn i ti ganiadhau, Gan ei fôd êf yn farw i bechod, ac yn bŷw i gyfiawnder, ac yn gladdedig gyda Chrîſt yn ei angeu, iddo allu croeſhoelio yr hên ddŷn, ac yn hollawl ymwrthod â hôll gorph pechod, ac fel megis y mae efe wedi ei wneuthur yn gyfrannog o angeu dy Fab, iddo fôd heſŷd yn gyfrannog o'i gyfodiad, ac fellu o'r diwedd ynghŷd a'r rhan arall o'th lân Eglwŷs, bôd o hono yn etifedd dy deŷrnas dragywŷddol, drwŷ Jeſu Grîſt ein Harglwŷdd. Amen.

¶ *Yna a phawb yn ſeſyll, yr Offeiriad a ddywed i'r Tadau Bedŷdd, a'r mammau Bedŷdd hŷn o gyngor yn canlŷn.*

YN gymmaint a darfod i'r plentŷn hwn addo trŵo-chwi, ei feichniafon, ymwrthod a diafol, a'i hôll weithredoedd, credu yn-Nuw, a'i waſanaethu êf: Rhaid i chwi feddwl, mai eich rhan a'ch dylêd yŵ, gweled ddyſcu o'r plentŷn hwn, cŷn gynted ag a gallo ddyſcu, pa ryw hynod adduned, addewid, a phroffes a wnaeth efe ymma drŵoch-chwi. Ac er mwŷn gallu o hono wŷbod y pethau hŷn yn well, chwi a elwch arno i wrando pregethau. Ac yn bendifaddef rhaid i chwi weled dyſcu o hono y Credo, Gweddi yr Arglwŷdd, a'r dêg gorchymmynnion yn yr iaith gyffredin; a phôb pêth arall a ddylei Griſtion ei wŷbod, a'i gredu, er iechŷd iw enaid; a bôd meithrin y plentŷn hwn yn rhinweddol, iw hyweddu mewn buchedd dduwiol a Chriſtianogawl, gan gofio yn waſtad, fôd Bedŷdd yn arwŷddocâu i ni ein proffes, hynnŷ ŷw, bôd i ni ganlŷn eſampl ein Iachawdr Crîſt, a'n gwneuthur yn gyffelŷb iddo êf: fel megis ag y bu efe farw ac a cyfododd

drachefn drosom ni; fellu a dylem ni y rhai a fedyddiwŷd, farw oddiwrth bechod, a chyfodi i gyfiawnder, gan farwolaethu yn wastad ein holl ddrygioni, a'n gwyniau llygredig, a pheunŷdd myned rhagom ymhôb rhinwedd ddâ, a buchedd dduwiol.

¶ *Ymma y chwanega efe ddywedŷd.*

RHaid i chwi edrŷch dwyn y Plentŷn hwn at yr Escob iw Gonffurmio ganddo cŷn gynted ag y medro ddywedŷd y Credo, Gweddi'r Arglwŷdd, a'r Deng-air Deddf yn yr iaith gyffredin, ac yr addyscer ymhellach ynghatechism yr Eglwŷs a osodwŷd allan ar fedr hynnŷ.

YSbŷs ŷw trwŷ Air Duw am blant a fedyddir, ac a fyddant feirw heb wneuthur pechod gweithredol, eu bôd yn ddiammeu yn gadwedig.

I Symmud ymaith bob amheuaeth am arfer arwŷdd y Groes yn y Bedŷdd, gwîr ddeongliad hynnŷ, a'r iawn achosion o'i gadw, a ellir eu gweled yn y ddegfed Canon ar hugain, a ddoded allan gyntaf yn y flwŷddŷn MDCIV. 1604.

---

## Gweinidogaeth Bedydd Prifat Plant, Mewn tai gartref.

*BYdded i'r Curadiaid o bob plwŷf rybuddio yn fynŷch y bobl, nad oedant fedŷdd eu plant bellach na'r Sul cyntaf neu'r ail, nesaf ar ol eu geni, neu rŷw ddŷdd gŵŷl arall a ddigwŷddo rhyngddŷnt, oddieithr ar achos mawr a chyfreithlawn, a'r cyfrŷw a dderbynnio y Curat.*

¶ *A hefŷd hwŷ a'u rhybuddiant, na pharont fedyddio eu plant gartref yn eu tai, heb achos mawr ac angen: a phan gymhello angenrhaid iddŷnt wneuthur hynnŷ, yna y bedŷdd a finistrir yn y modd hŷn.*

¶ *Yn gyntaf bydded i weinidog y Plwŷf (neu yn ei absen i rŷw weinidog cyfreithlawn arall a ellir ei gael) gydâ'r rhai a fyddo yn y fan, alw ar Dduw, a dywedŷd Gweddi'r Arglwŷdd, a chynnifer o'r Colectau pwŷntiedig uchod iw dywedŷd yn ffurf y Bedŷdd Public, ac a âd yr amser, a'r angen presennol; Ac yna, wedi henwi y plentŷn gan rŷw un a fyddo yn bresennol, y Gweinidog a fwrw ddwfr arno gan ddywedŷd y geiriau hŷn.*

F. Yr wŷfi yn dy fedyddio di yn Enw'r Tâd, a'r Mab, a'r Yspryd glân. Amen.

¶ *Yna pawb yn gostwng ar eu gliniau, y Gweinidog a rŷdd ddiolch i Dduw, ac a ddywed.*

MAwr ddiolchwn i ti, Drugarogcaf Dad, ryngu bôdd i ti ad-eni y plentŷn hwn a'th Yspryd glân, a'i dderbŷn yn blentŷn i ti dy hun trwŷ fabwŷsiad, a'i gorphori i'th lân Eglwŷs. Ac yn ostyngedig yr attolygwn i ti ganiadhau iddo, megis yn awr y gwnaed ef yn gyfrannog o angeu dy Fab, iddo fod hefŷd fellu o'i adgyfodiad, ac fellu o'r diwedd, ynghŷd a'r rhan arall o'th Sanct, bôd o iddo etifeddu dy deŷrnas dragywŷddol trwy'r unrhyw dy Fab Jesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

¶ *Ac nag amheuant am y dŷn bâch a fedyddier fellu, nad ŷw efe wedi ei fedyddio yn ddeddfol, ac yn ddigonol, Ac na ddyler ei fedyddio mwŷ. Ond er hynnŷ i gŷd, os y plentŷn a fedyddiwŷd yn y modd hwn a fŷdd bŷw rhag llaw, hwnn fŷdd ei ddwŷn ef i'r Eglwŷs, fel y gallo Gweinidog yr un plwŷf, [os efe ei hun a fedyddiodd y dŷn bâch,] yspysu i'r gynnulleidfa wîr ffurf y Bedŷdd, a arferasei*

*asei o'r blaen gartref, ac ar yr un achos hwnnw efe a ddywed fel hyn:*

Yr wŷf yn hyspysu i chwi ddarfod i ni yn ol dyledus Orodedigaeth yr Eglwŷs ar yr amser a'r amser, yn y lle a'r lle, yngŵŷdd llawer o dystion fedyddio y plentyn hwn.

¶ *Ond os gweinidog cyfreithlawn arall a fedyddiodd y dŷn bach, yna Gweinidog y plwŷf, yn yr hwn y ganed neu y bedyddiwŷd y dŷn bâch, a examia ac a hola, a fedyddiwŷd y plentŷn yn gyfreithlawn, neu nato? Yn yr hŷn achos os y rhai a ddygant y plentŷn i'r Eglwŷs a attebant ddarfod bedyddio y plentŷn eusus, yna holed y Gweinidog hwŷ ymmhellach gan ddywedŷd.*

GAn bwŷ a bedyddiwŷd y dŷn bâch hwn.

Pwŷ oedd yn y fan, pan fedyddiwŷd y dŷn bâch hwn.

O herwŷdd a gallai fôd, darfod gadael heibio rŷw bethau a berthŷn i hanffod y Sacrament hwn trwŷ ofn neu frŷs, yn y cyfrŷw gyfyngder: Am hynnŷ y gofynnaf i chwi ymmhellach,

A pha ddefnŷdd a bedyddiwŷd y plentŷn hwn?

A pha eiriau a bedyddiwŷd y plentŷn hwn?

¶ *Ac os y Gweinidog a brawf wrth attebion y rhai a ddygasant y plentŷn atto, fod pôb peth wedi ei wneuthur modd y dylei: Yna na fedyddied efe y plentŷn drachefn, ond ei dderbŷn yn un o ddiadell y gwîr Gristionogion, gan ddywedŷd fel hŷn.*

YR ydwŷfi yn hyspysu i chwi ddarfod gwneuthur pôb pêth yn ddâ yn y [illegible] hwn, ac wrth iawn drefn berthynasol, wrth fedyddio y plentŷn ymma, yr hwn wedi ei eni mewn pechod dechreuol, ac mewn digofaint Duw, sydd yn awr drwŷ olchiad yr ad-anedigaeth ymmedŷdd, wedi ei dderbŷn i nifer plant Duw, ac etifeddion bywŷd tragywŷddol: Canŷs nid ŷw ein Harglwŷdd Jesu Grist yn nacâu ei râd a'i drugaredd i gyfrŷw rai bychain, ond y mae yn garueiddiaf yn eu gwahodd atto, megis y tystia yr Efengŷl fendigedig i'n Cysur ni, yn y wêdd hon.

*Yr Efengŷl. S. Marc. 10. 13.*

HWŷ a ddygasant blant bychain at Grist, fel y cyffyrddei êfe a hwŷnt: a'r dyscyblion a gerŷddasant y rhai oedd yn eu dwŷn hwŷnt. A'r Jesu pan welodd hynnŷ a fu anfodlon iawn, ac a ddywedodd wrthŷnt, gadewch i blant bychain ddyfod attafi, ac na waherddwch hwŷnt: canŷs eiddo y cyfrŷw rai ŷw teŷrnas Dduw. Yn wir meddaf i chwi, pwŷ bynnag ni dderbynio deŷrnas Duw fel dŷn bâch, nid a efe i mewn iddi. Ac efe a'u cymmerodd hwŷ yn ei freichiau, ac a ddododd ei ddwŷlo arnŷnt, ac a'u bendithiodd.

¶ *Yn ol darllen yr Efengŷl, y traetha y Gweinidog y cyngor bŷr ymma ar eiriau yr Efengŷl.*

Y Caredigion, chwi a glywch yn yr Efengŷl hon eiriau ein Iachawdwr Crist, yn gorchymmŷn dwŷn plant atto, pa wêdd a ceryddodd efe y rhai a fynnasei eu cadw oddiwrtho; pa wêdd y mae efe yn cynghori i bôb dŷn ganlŷn eu gwirioneb hwŷ. Yr ydŷch chwi yn deall wrth ei agwedd êf a'i weithred, mòdd y dangosodd ei ewŷllŷs dâ iddŷnt: canŷs efe a'u cofleidiodd hwŷ yn ei freichiau, efe a roddodd ei ddwŷlaw arnŷnt, ac a'u bendithiodd hwŷnt. Nag ambeuwch gan hynnŷ, ond credwch yn ddifrif, ddarfod iddo gymmerŷd yr un ffunŷd yn ymgeleddgar y dŷn bychan hwn, a'i gofleidio êf â breichiau ei drugaredd, ac (fel yr addawodd yn ei air sanctaidd) a rhŷdd iddo fendith

y bywŷd tragywŷddol, ac a'i gwna yn gyfrannog o'i ddi-drangc deŷrnas. O herwŷdd paham, a nyni yn credu fel hŷn am ewŷllŷs da ein Tâd nefol, wedi ei amlygu trwŷ ei Fâb Jesu Grist, tuag at y dŷn bychan: diolchwn yn ffyddlon, ac yn ddefoesionol iddo, gan ddywedŷd y weddi a ddyscodd yr Arglwŷdd ei hun i ni.

EIn Tâd yr hwn wŷt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Delet dy deyrnas. Bydded dy ewŷllys ar y ddaiar megis y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddŷw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel a maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nag arwain ni i brofedigaeth; Ond gwared ni rhag drŵg. Amen.

HOll-alluog a thragywŷddol Dduw, Nefol Dâd, yr ŷm ni yn ostyngedig yn diolch i ti fôd yn wiw gennit ein galw i wŷbodaeth dy râs, a ffŷdd ynot: Ychwanega yr wŷbodaeth hon, a chadarnha y ffŷdd hon ynom yn wastad; Dyro dy Ysprŷd glân i'r dŷn bychan ymma fel y ganer efe eilwaith, a'i wneuthur yn etifedd Iechŷd tragywŷddol, trwŷ ein Harglwŷdd Jesu Grîst, aros yn wasanaethwr i ti, a chaffael dy addewid, trwŷ yr unrhŷw dy Fâb ein Harglwŷdd Jesu Grist, yr hwn sŷdd yn bŷw, ac yn teŷrna[illegible] gyda thi, a'r Ysprŷd glan, yr awr hon, ac yn dragywŷdd. Amen.

¶ *Yna y gofŷn yr Offeiriad enw y dŷn-bychan, a phan ddarffo i'r Tadau-bedŷdd a'r Mammau-bedŷdd ei adrodd, y Gweinidog a ddywed:*

A Ydwŷt ti yn enw y plentŷn hwn, yn ymwrthod a diafol, ac a'i hôll weithredoedd, coeg rodres, a gwâg orfoledd y bŷd, a'i hôll chwantau cybyddus, anysprydol ewŷllŷs y cnawd, fel na ddilynech hwŷnt, ac na'th dywŷser ganddŷnt.

*Atteb.* Yr ydwŷf yn ymwrthod â hwŷnt ôll.

*Gweinidog.* A Wŷt ti yn credu yn Nuw Tâd Holl-gyfoethog, Creawdr nêf a daiar? Ac yn Jesu Grist ei un Mâb êf ein Harglwŷdd ni? A'i genhedlu o'r Ysprŷd glan? A'i eni o Fair forwŷn; iddo ddioddef dan Pontius Pilatus, ei groshoelio, ei farw a'i gladdu? deicŷn o hono i Uffern, a'i gyfodi y trydŷdd dŷdd, ac escŷn o hono i'r nefoedd, a'i fôd yn eistedd ar ddeheulaw Dduw Tâd Holl-alluog, ac y daw efe oddiyno yn niwedd y bŷd i farnu bŷw a meirw? A wŷt ti yn credu yn yr Ysprŷd glân, yr Eglwŷs lân Gatholic, Cymmun y Sainct, maddeuant pechodau; adgyfodiad y cnawd, a bywŷd tragywŷddol gwedi angeu?

*Atteb.* Hŷn ôll yr wŷf yn ei gredu yn ddilŷs.

*Gweinidog.* A Gedwi ditheu yn ufudd lân ewŷllŷs Duw a'i Orchymmynnion, gan rodio yn yr unrhŷw hôll ddyddiau dy fywŷd?

*Atteb.* Gwnâf.

¶ *Yna y dywed yr Offeiriad.*

YR ydŷm ni yn derbŷn y plentŷn hwn i gynnulleidfa defaid Crist, ac yn ei † nodi êf ag arwŷdd y grôg yn arwŷddoccâd na bô iddo rhag llaw gymmerŷd yn gywilŷdd [illegible] essu ffŷdd Crist [illegible] groes-hoelwŷd, ac idd[illegible] ymladd yn wrol tan ei [illegible], yn erbŷn pechod, y bŷd, a'r [illegible] pharhau yn filwr ffyddlawn ac [illegible] i Grist, hôll ddyddiau ei einioes. Amen.

*† Ymma yr Offeiriad a wneiff groes yn nhalcen y dŷn bâch.*

¶ *Yna*

¶ *Yna y dywed yr Offeiriad.*

GAn ddarfod yn awr, garedigion frodŷr, ad-eni, a dodi y plentyn hwn ynghorph Eglwŷs Crist, diolchwn ninnau i'r Holl-alluog Dduw am ei ddaioni hŷn, ac o gŷd-undeb gwnawn ein gweddiau ar y Goruchaf Dduw, ar fod iddo ddiweddu y rhann arall o'i fywŷd yn ôl hŷn o ddechreuad.

¶ *Yna y dywed yr Offeiriad.*

MAwr ddiolchwn i ti drugarogcaf Dâd, ryngu bôdd it' i ad-eni y plentŷn hwn â'th Ysprŷd glân, a'i dderbŷn yn blentŷn i ti dy hun trwŷ fabwŷsiad, a'i gorphori i'th lân Eglwŷs: ac yn ostyngedig yr attolygwn i ti ganiadhau, gan ei fôd êf yn farw i bechod, ac yn bŷw i gyfiawnder, ac yn gladdedig gyda Christ yn ei angeu, allu croeshoelio yr hên ddŷn, ac yn hollawl ymwrthod â hôll gorph pechod: ac megis y mae efe wedi ei wneuthur yn gyfrannog o angeu dy Fâb, iddo fôd hefŷd yn gyfrannog o'i gyfodiad, ac fellu o'r diwedd, ynghŷd a'r rhann arall o'th lân Eglwŷs, bôd o hono yn etifedd dy deŷrnas dragywŷddol, drwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

¶ *Yna a phawb yn sefyll, yr Offeiriad a ddyned i'r Tadau Bedŷdd a'r mammau bedŷdd hŷn o gyngor yn canlŷn.*

YN gymmaint a darfod i'r plentŷn hwn addo trwochwi, ei feichniafon, ymwrthod â diafol, a'i hôll weithredoedd, credu yn-Nuw, a'i wasanaethu êf: Rhaid i chwi feddwl, mai eich rhan a'ch dylêd ŷw, gweled ddyscu o'r plentŷn hwn, cŷn gynted ag y gallo ddyscu, pa rŷw hynod adduned, addewid, a phroffes a wnaeth efe ymma drwoch-chwi. Ac er mwŷn gallu o hono wŷbod y pethau hŷn yn well, chwi a elwch arno i wrando pregethau. Ac yn bendifaddef rhaid i chwi weled dyscu o hono y Credo, Gweddi yr Arglwŷdd, a'r dêg gorchymmynnion yn yr iaith gyffredin, a phob pêth arall a ddylei Gristion ei wŷbod, a'i gredu, er iechŷd iw enaid; a bôd meithrin y plentyn hwn yn rhinweddol, iw hyweddu mewn buchedd dduwiol a Christionogawl, gan gofio yn wastad, fôd Bedŷdd yn arwŷddoccau i ni ein proffess, hynnŷ ŷw, bôd i ni ganlŷn esampl ein Iachawdr Crist, a'n gwneuthur yn gyffelŷb iddo êf: fel megis ag y bu efe farw, ac y cyfododd drachefn drosom ni, fellu y dylem ni y rhai a fedyddiwŷd, farw oddiwrth bechod, a chyfodi i gyfiawnder, gan farwolaethu yn wastad ein hôll ddrygioni, a'n gwuniau llygredig, a pheunŷdd myned rhagom ymhôb rhinwedd ddâ, a buchedd dduwiol.

¶ *ONd os y rhai a ddygant y plentŷn i'r Eglwŷs a wnânt y cyfrŷw atteb an-yspysol i ofynnion yr Offeiriad, fel na aller gwŷbod a ddarfu bedyddio y plentŷn â dwfr, yn enw'r Tâd, a'r Mâb, a'r Ysprŷd glân, (yr hŷn sŷdd o hanffod y bedŷdd:) yna bedyddied yr Offeiriad êf yn ôl y ffurf scrifennedig uchod am y bedŷdd Public, oddieithr wrth drochi y dŷn-bâch yn y bedyddfan efe a arfer y Ffurf hon ar eiriau.*

ONi ddarfu dy fedyddio di eusŷs, E. yr wŷfi yn dy fedyddio di, yn Enw'r Tâd, a'r Mâb a'r Ysprŷd glân. Amen.

## Gweinidogaeth Bedydd y rhai o oedran Addfettach, ac yn medru atteb trostynt eu hunain.

P*In fyddo rhŷw rai o oedran addfedtach iw bedyddio, yspyser hynnŷ mewn prŷd i'r Escob, neu i'r nêb a appwŷntia efe i hynnŷ, wŷthnos gron o'r lleiaf, gan eu rhieni, neu*

rŷw

*rŷw rai deallus eraill, fel y galler cymmerŷd gofal dyledus iw profi, a ydŷnt wedi eu haddysgu yn ddigonol yn Egwŷddorion y ffŷdd Gristionogawl, ac fel y galler eu cynghori i ymbarodtoi trwŷ weddiau ac ympryd i gymmerŷd y Sacrament bendigedig hwn.*

¶ *Ac os hwŷ a gaffer yn gymhesur, yna bydded y Tadau Bedŷdd a'r Mammau bedŷdd (a'r bobl wedi ymgynnull ar y Sul neu Ddŷdd gŵŷl pwŷntiedig ) barod iw presentio hwŷ wrth y bedydd-fan, yn ebrwŷdd ar ôl yr ail llith, naill ai ar y Foreuol neu'r Brydnhawnol weddi, megis yn neall y Curat y bernir yn gymmwŷs.*

¶ *A'r Offeiriad yn sefŷll yno a ofŷn, a fedyddiwŷd yr un o'r rhai a bresentir yma, ai na ddô? Os hwŷ attebant,* Na ddo: *Yna yr Offeiriad a ddŷwed fel hŷn.*

FY Anwŷl garedigion, yn gymmaint ac ymddwŷn a geni pôb dŷn mewn pechod, ac mai cnawd ŷw yr hŷn a enir o gnawd, a'r rhai ŷnt yn y cnawd ni allant ryngu bôdd Duw, Ond bŷw mewn pechod, gan wneuthur lliaws o bechodau gweithredol; a bôd ein Iachawdr Crist yn dywedŷd na ddichon neb gael myned i mewn i deŷrnas Duw, oddieithr ei adgenhedlu a'i Eni o newŷdd o ddwfr ac o'r Yspryd glân, Attolwg yr wŷf i chwi alw ar Dduw Tâd, trwŷ ein Harglwŷdd Jesu Grist, ar fôd iddo o'i ddaionus drugaredd ganiadhau i'r rhai hŷn ŷ peth drwŷ nerth natur ni allant ddyfod iddo, gael eu bedyddio â dwfr ac a'r Yspryd glân, a'u derbŷn i lân Eglwŷs Grist, a bôd yn aelodau bŷwiol o'r unrhŷw.

¶ *Yna y dywed yr Offeiriad.*

Gweddiwn.

¶ ( *Ac ymma y Gynnulleidfa ôll a ostyngant ar eu gliniau.* )

HOll-alluog a thragywŷddol Dduw, yr hwn o'th fawr drugaredd a gedwaist Noe a'i deulu yn yr Arch rhag eu cyfrgolli gan ddwfr; a hefyd a dywŷsaist yn ddiangol blant yr Israel dy bobl drwŷ y môr côch, gan arwŷddoccau wrth hynnŷ dy lân fedŷdd; a thrwŷ fedŷdd dy garedig Fâb Jesu Grist yn afon Iorddonen a sancteiddiaist yr elfen ddwfr, er dirgel olchiad pechod ymaith: Attolygwn i ti er dy aneirif drugareddau, edrŷch o honot yn drugarog ar dy weision hŷn, eu glanhau, a'u sancteiddio a'r Yspryd glân, fel y byddo iddŷnt hwŷ gael eu gwared oddiwrth dy lîd, a'i derbŷn i Arch Eglwŷs Grist, a chan fôd yn gadarn mewn ffŷdd, yn llawen gan obaith, ac wedi ymwreiddio yngariad perffaith, allu o honŷnt fordwŷo tros donnau y bŷd trallodus hwn, fel y bô iddŷnt o'r diwedd, ddyfod i dîr y bywŷd tragywŷddol, yno i deŷrnasu, gyda thi heb drangc na gorphen, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

HOll-alluog ac anfarwol Duw, porth pôb anghenog, nawdd-wr pawb a gilio attat am gynhorthwŷ, bywŷd y rhai a gredant, a chyfodiad y meirw: yr ŷm yn galw arnat tros y dynnion ymma, ar iddŷnt yn dyfod i'th lân fedŷdd, gael derbŷn maddeuant o'u pechodau, drwŷ adanedigaeth ysprydol. Derbŷn hwŷnt Arglwŷdd, megis yr addewaist trwŷ dy garedig Fâb, gan ddywedŷd, Gofynnwch, a rhoddir i chwi, Ceisiwch, a chwi a gewch, Curwch ac fe agorir i chwi. Fellu yn awr dyro i ni, a ni yn gofŷn; pâr i ni gael, a ni yn ceisio: agor y porth i ni sŷ'n curo; fel y gallo y dynnion ymma fwŷnhau tragywŷddol fendith dy nefol olchiad, a dyfod i'r deŷrnas dragywŷddawl, yr hon a addewaist trwŷ Grist ein Harglwŷdd. Amen.

¶ *Yna y bobl a safant ar eu traed; yr Offeiriad a ddywaid.*

Gwrandewch ar eiriau yr Efengŷl

a

a scrifennodd Sanct Joan yn y drydŷdd bennod, yn dechreu ar y wers gyntaf hŷd y nawfed.

AC yr oedd dŷn o'r Pharisæaid, a'i enw Nicodemus, pennaeth yr Iddewon, Hwn a ddaeth at yr Jesu liw nôs, ac a ddywedodd wrtho, Rabbi, nyni a wŷddom mai dyscawdr ydwŷt ti, wedi dyfod oddiwrth, Dduw: canŷs ni allei nêb wneuthur y gwrthiau hŷn yr wŷt ti yn eu gwneuthur oni bai fôd Duw gydag êf. Jesu a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Yn wir meddaf i ti, oddieithr geni dŷn drachefn, ni ddichon efe weled teŷrnas Dduw. Nicodemus a ddywedodd wrtho, pa fôdd y dichon dŷn ei eni, ac efe yn hên? A ddichon efe fyned i grôth ei fam eilwaith, a'i eni? Jesu a attebodd ac a ddywedodd, Yn wîr, yn wîr, meddaf i ti, oddieithr geni dŷn o ddwfr ac o'r Yspryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deŷrnas Dduw. Yr hŷn a aned o'r cnawd sŷdd gnawd: a'r hŷn a aned o'r Yspryd, sŷdd yspryd. Na ryfedda ddywedŷd o honofi wrthit, Y mae yn rhaid eich geni chwi drachefn. Y mae'r gwŷnt yn chwŷthu lle y mynno: a thi a glywi ei sŵn ef, ond ni wŷddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le y mae yn myned. Fellu y mae pôb un a'r a aned o'r Yspryd.

¶ *Gwedi hŷn efe a ddywed y Cyngor hwn yn canlŷn.*

YCaredigion, chwi a glywch yn yr Efengŷl hon eiriau eglur ein Iachawdr Crist; Oddieithr geni dŷn o ddwfr ac o'r Yspryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deŷrnas Dduw. O hŷn a gellwch weled mawr angenrheidrwŷdd y Sacrament hwn, lle galler ei gael. Yr un wêdd yn ebrwŷdd o flaen ei Escynniad i'r Nêf (megis y darllennwn yn y bennod ddiweddaf o Efengŷl Sanct Marc) Efe a roddodd orchymmŷn iw Ddyscyblion, Gan ddywedŷd, Ewch i'r hôll Fŷd, a phregethwch yr Efengŷl i bôb Creadur, Y nêb a gredo ac a fedyddier a fŷdd cadwedig; Ond y nêb ni chredo a gondemnir. Hŷn hefŷd sŷdd yn dangos i ni y dirfawr lesâd a fedwn o hynnŷ. O herwŷdd pa ham Sanct Peter yr Apostol, [ pan wrth ei bregethiad cyntaf o'r Efengŷl, a dwŷs bigwŷd llaweroedd yn eu calon, ac a dywedasant wrtho êf a'r Apostolion eraill, Ha wŷr frodyr, Beth a wnawn ni ] a attebodd ac a ddywedodd wrthŷnt, Edifarhewch, a Bedyddier pob un o honoch er madd-euant pechodau, a chwi a dderbynniwch Ddawn yr Yspryd Glân. Canys i chwi y mae yr addewid, ac i'ch Plant, ac i bawb ymmhell, sêf, cynnifer ag a alwo yr Arglwŷdd ein Duw ni: Ac â llawer o ymadroddion eraill y cynghorodd efe hwŷnt, gan ddywedŷd ymgedwch rhag y genhedlaeth drofaus hon. Canŷs [ megis y tystiolaetha yr un Apostol mewn man arall ] Bedydd hefŷd sŷdd yr awron yn ein hachub ni [ nid bwrw ymaith fudreddi y Cnawd, ond ymatteb cydwŷbod dda tuagat Dduw ] trwŷ Adgyfodiad yr Jesu Grist. Nag amheuwch gan hynnŷ, ond credwch yn ddifrif a cymmer efe yn ymgeleddgar y rhai presennol hŷn, sŷ wîr edifeiriol, ac yn dyfod atto trwŷ ffydd, y caniadha efe iddŷnt faddeuant o'u pechodau, ac a dyrŷ iddŷnt yr Yspryd Glân, a rhŷdd iddŷnt fendith y bywŷd tragywŷddol, ac a'u gwna hwŷ yn gyfrannogion o'i ddidrangc deŷrnas.

O herwŷdd paham, a ni yn credu fel hŷn am ewŷllŷs da ein Tad nefol, tuagat y rhai hŷn, a amlygir trwŷ ei Fab êf Jesu Grist, Diolchwn yn ffyddlon ac yn ddefoesionol iddo, a dywedwn.

HOll-alluog a thragywŷddol Dduw Nefol Dâd, yr ŷm ni yn ostyngedig yn diolch i ti fôd yn wiw gennit ein galw i wŷbodaeth dy râs, a ffŷdd ynot:

Ychwanega

Ychwanega yr wŷbodaeth hon, a chadarnha y ffŷdd hon ynom yn waſtad; dyro dy Yſprŷd glân i'r rhai hŷn fel y ganer hwŷnt eilwaith, a'i gwneuthur yn etifeddion Iechŷd tragywŷddol, trwŷ ein Harglwŷdd Jeſu Grîſt, yr hwn ſŷdd yn bŷw, ac yn teŷrnaſu gydâ thi, a'r Yſprŷd glan, yr awr hon ac yn dragywŷdd. Amen.

¶ *Yna dyweded yr Offeiriad wrth y rhai a fônt iw bedyddio yn y môdd hŷn.*

CHwychwi Garedigion y rhai a ddaethoch ymma yn deiſŷf cael derbŷn Glân fedŷdd, a glywſoch y môdd y gweddiodd y Gynnulleidfa, a'r fod yn wiw gan ein Harglwŷdd Jeſu Grîſt eich derbŷn chwi, eich bendithio, faddeu i chwi eich pechodau, a rhoddi i chwi deyrnas nêf a bywŷd tragywŷddol. Chwi a glywſoch hefŷd fod i'n Harglwŷdd Jeſu Grîſt addo yn ei ſanctеddlan Air, ganiadhau yr hôll bethau hŷn a weddiaſom am danŷnt, yr hwn addewid efe o'i ran êf a'i ceidw yn wîr ddiogel, ac a'i cwblhâ. O herwŷdd pa achos yn ôl yr addewid hwn a wnaeth Crîſt, rhaid i chwi yn ffyddlon o'ch rhann chwithau addo yngwŷdd y rhai hŷn eich tyſtion, a cher bron yr hôll gynnulleidfa hon, ymwrthod â diafol, a'i hôll weithredoedd, ac yn waſtad credu gwŷnfŷdedig air Duw, ac yn ufudd cadw ei orchymynnion.

¶ *Yna y goſŷn yr Offeiriad i'r rhai a ddaethant iw bedyddio, bôb yn un yr ymofynnion hŷn.*

A Ydwŷt ti yn ymwrthod â diafol, ac a'i hôll weithredoedd, coeg odres, a gwâg orfoledd y bŷd, a'i hôll chwantau cybyddus, anyſprydol ewŷllys y cnawd, fel na ddilynech hwŷnt, ac a'th dywŷſer ganddŷnt?

*Atteb.* Yr ydwŷf yn ymwrthod â hwŷnt oll.

*Gweinidog.* A Wŷt ti yn credu yn Nuw Tâd Holl-gyfoethog, Creawdr nêf a daiar? Ac yn Jeſu Grîſt ei un Mâb êf ein Harglwŷdd ni? A'i genhedlu o'r Yſprŷd glân; A'i eni o Fair forwŷn; iddo ddioddef dan Pontius Pilatus, ei groeſhoelio, ei farw a'i gladdu; deſcŷn o hono i Uffern, a'i gyfodi y trydŷdd dŷdd, ac eſcŷn o hono i'r nefoedd, a'i fod yn eiſtedd ar ddeheulaw Dduw Tâd Hôll-alluog, ac a daw efe oddiyno yn niwedd y Bŷd i farnu bŷw a meirw? A wŷt ti yn credu yn yr Yſprŷd glân, yr Eglwŷs lân Gatholic, Cymmun y Sainct, maddeuant pechodau; adgyfodiad y cnawd, a bywŷd tragywŷddol gwedi angeu?

*Atteb.* Hŷn ôll yr wŷf yn ei gredu yn ddilŷs.

*Gweinidog.* A Fynni di dy fedyddio yn y ffŷdd hon.

*Atteb.* Hynnŷ ŷw fy ewŷllŷs.

*Gweinidog.* A Gedwi ditheu yn ufudd, lân ewŷllŷs Duw a'i Orchymmynnion, gan rodio yn yr unrhŷw hôll ddyddiau dy fywŷd.

*Atteb.* Mi a ymegniaf ar wneuthur fellu, a Duw yn gynnorthwŷwr i mi.

¶ *Yna y dywed yr Offeiriad.*

O Drugarog Dduw, caniadha fellu gladdu yr hên Adda yn y rhai hŷn, fel y cyfoder y dŷn newŷdd ynddŷnt hwŷ. Amen.

Caniadha fôd i hôll chwantau'r cnawd farw ynddŷnt, ac i bôb pêth a berthŷn i'r Yſprŷd allu bŷw a chynnyddu ynddŷnt. Amen.

Caniadha fôd iddŷnt nerth a gallu i gael yr oruchafiaeth, a'r gorfod yn erbŷn diafol, y bŷd, a'r cnawd. Amen

Caniadha fôd i bwŷ bynnag ſŷdd ymma wedi ei gyſſegru i ti trwŷ ein

swŷdd a'n gweinidogaeth ni, allu hefŷd bod yn gynyscaeddol o rinweddau nefol, a bod iddynt gael eu tragywyddol obrwŷau drwŷ dy drugaredd, O fendigedig Arglwŷdd Dduw, yr hwn wŷt yn bŷw, ac yn llywodraethu pob pêth, yn oes oesoedd. Amen.

HOll-gyfoethog sŷth-fŷwiol Dduw, yr hwn y bu i'th garedigcaf Fâb Jesu Grîst dros faddeuant o'n pechodau, oddef gollwng o'i werth fawr ystlŷs ddwfr a gwaed, a rhoddi gorchymmŷn i'w ddyscyblion fyned a dyscu pôb cenedl, a'u bedyddio yn Enw y Tâd, a'r Mâb, a'r Yspryd glân: Ystyria attolwg i ti wrth weddiau dy gynnulleidfa, sancteiddia y dwfr hwn er dirgel olchedigaeth pechodau, a chaniadha fôd i'r rhai hŷn a fedyddir yr awrhon ynddo, dderbŷn cyflawnder dy râs, ac aros bŷth yn nifer dy ffyddlon blant etholedig, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. Amen.

¶ *Yna yr Offeiriad a gymmer bôb un o'r rhai a fedyddir gerfŷdd ei law ddeheu, a chan ei osod ef yn gyfleus gerllaw y Bedydd-fan, môdd y gwelo oreu, a ofŷn i'r Tadau bedŷdd, ac i'r Mammau bedŷdd yr Enw; Ac yna efe a'i trocha yn y dwfr neu a dywallt ddwfr arno ef, gan ddywedŷd.*

E. Yr wŷfi yn dy fedyddio di yn Enw y Tâd, a'r Mâb, a'r Yspryd glân. Amen.

¶ *Yna y dywed yr Offeiriad*

YR ydŷm ni yn derbŷn y person ymma i gynnulleidfa defaid Crîst, ac yn ei * nodi êf ac arwŷdd y grôg yn arwŷddocad na bô iddo rhag llaw gymmerŷd yn gywilŷdd gyffessu ffŷdd Crîst a groeshoeliwŷd, ac iddo ymladd yn wrol tan ei faner êf, yn erbŷn pechod, y bŷd, a'r cythrael a pharhau yn filwr ffyddlawn ac yn was i Grîst, holl ddyddiau ei einioes. Amen.

* *Ymma yr Offeiriad a wneiff groes yn nhalcen y dŷn.*

¶ *Yna y dywed yr Offeiriad.*

GAn ddarfod ŷn awr, garedigion frodŷr, ad-eni, a dodi y personau hyn ynghorph Eglwŷs Crîst, diolchwn ninnau i'r Holl-alluog Dduw am ei ddaioni hŷn, ac o gydtundeb gwnawn ein gweddiau ar y goruchaf Dduw, ar fod iddo ddiweddu y rhan arall o'u bywyd yn ol hyn o ddechreuad.

¶ *Yna y dywedir a phawb ar eu gliniau.*

EIn Tâd yr hwn wŷt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Delet dy Deŷrnas. Bydded dy ewŷllŷs ar y ddaiar megis y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddŷw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nag arwain ni i brofedigaeth; Ond gwared ni rhag drwg. Amen.

YR ŷm ni yn ostyngedig yn diolch i ti, Nefol Dâd, fôd yn wiw gennit ein galw i wŷbodaeth dy Râs, a ffŷdd ynot: Ychwanega yr wŷbodaeth hon, a chadarnhâ y ffŷdd hon ynom yn wastad: Dyro dy Yspryd glân i'r rhai hŷn, fel gwedi eu geni eilwaith, a'u gwneuthur yn etifeddion iechŷd tragywŷddol, Trwŷ ein Harglwŷdd Jesu Grist y gallont barhau yn weision i ti, a mwŷnhau dy addewidion trwŷ'r un ein Harglwŷdd Jesu Grîst, dy Fâb, yr hwn sŷdd yn bŷw ac yn teŷrnasu gyda thi, yn undod yr unrhŷw Yspryd Glân yn dragywŷddol. Amen.

¶ *Yna a phawb yn eu sefŷll yr Offeiriad a adrodd y Cyngor hwn isod, gan ddywedŷd yn gyntaf wrth y Tadau bedŷdd a'r Mammau bedŷdd.*

YN gymmaint a darfod i'r Rhai hŷn addo yn eich gwŷdd chwi ym-

wrthod a Diafol a'i hôll weithredoedd, Credu yn Nuw, a'i wasanaethu, rhaid i chwi feddwl mai eich rhan a'ch Dylêd chwi ŷw dwŷn ar gôf iddŷnt, pa rŷw hynod adduned, addewid, a phroffes a wnaethant yr awr hon ger bron y Gynnulleidfa hon, ac yn enwedig ger eich bron chwi eu tystion etholedig. Chwi hefŷd a elwch arnŷnt, i arferu pôb dyfalwch i gael eu haddyscu yn iawn sancteiddlan Air Duw: fel a gallont fellu gynnyddu mewn Grâs, ac yngwŷbodaeth ein Harglwŷdd Jesu Grîst, a bŷw yn Dduwiol, yn uniawn ac yn sobr yn y bŷd presennol hwn.

¶ [*Ac yna (gan ddywedŷd wrth y rhai newŷdd fedyddio) efe a â rhagddo fel hŷn.*]

AC am a berthŷn i chwi y rhai yr awron yn eich Bedŷdd a arwisgasoch Grîst, eich rhan chwithau a'ch dylêd ŷw, gan eich bôd wedi eich gwneuthur yn blant i Dduw, ac yn blant y goleuni, trwŷ ffŷdd yn Jesu Grîst, rhodio yn attebol i'ch galwedigaeth Gristionogol, a megis y gweddei i blant y Goleuni, gan gofio yn wastad, fôd Bedŷdd yn arwŷddoccau i ni ein proffess, hynnŷ ŷw, bôd i ni ganlŷn esampl ein Iachawdr Crist, a'n gwneuthur yn gyffelŷb iddo êf: fel megis ag y bu efe farw, ac y cyfododd drachefn drosom ni, fellu y dylem ni y rhai a fedyddiwŷd, farw oddiwrth bechod, a chyfodi i gyfiawnder, gan farwolaethu yn wastad ein hôll ddrygioni, a'n gwuniau llygredig, a pheunŷdd myned rhagom ymhôb rhinwedd ddâ, a buchedd dduwiol.

¶ *Iawn ŷw, i bôb un a fedyddier fel hŷn, gael ei Gonffirmio gan yr Escob cŷn gynted ag y gallo yn gymwŷs ar ôl ei Fedŷdd, fel y bo rhŷdd iddo ddyfod i'r Cymmun bendigedig.*

¶ *Os bŷdd dwŷn nêb o'r cyfrŷw, na fedyddiwŷd yn eu mebŷd, iw bedyddio cŷn dyfod i oedran pwŷll, i fedru atteb drostŷnt eu hunain, digonol fŷdd arfer y gwasanaeth am Fedŷdd Public plant bychain, neu [ ar ddygŷn berŷgl ] y gwasanaeth am Fedŷdd Prifat, gan newid rhŷw eiriau y bo achos yn peri eu newidio.*

---

**Y Catechism; Sef hynny yw, Athrawiaeth iw dyscu gan bob plentyn, cyn ei ddwyn i'w gonffirmio gan yr Escob.**

*Qwestion.* BEth ŷw dy enw di?

*Atteb.* *N.* neu *M.*

*Qwestion.* Pwŷ a roddodd yr enw hwnnw arnat ti?

*Atteb.* Fy nhadau bedŷdd, a'm mamau bedŷdd wrth fy medyddio pan i'm gwnaethwŷd yn aelod i Grîst, yn blentŷn i Dduw, ac yn etifedd teŷrnas nêf.

*Cwestiwn.* Pa bêth a wnaeth dy dadau bedŷdd a'th fammau bedŷdd yr amser hwnnw trosot ti?

*Atteb.* Hwŷ a addawsant, ac a addunasant dri phêth yn fy enw. Yn gyntaf ymwrthod o honof â diafol, ac â'i hôll weithredoedd, rhodres, a gorwagedd y bŷd anwir hwn, a phechadurus chwantau y cnawd. Yn ail bôd i mi gredu hôll byngciau ffŷdd Cristion. Ac yn drydŷdd, cadw o honof wŷnfŷdedig ewŷllŷs Duw a'i orchymmynnion, a rhodio yn yr unrhŷw hôll ddyddiau fy mywŷd.

*Qwestion.* 'Onid wŷt ti yn tybied dy fôd yn rhwŷmedig i gredu ac i wneuthur megis ag yr addawsant hwŷ trosot ti?

 *Atteb.*

*Atteb.* Ydwŷf yn wir, a thrwŷ nerth Duw fellu a gwnaf. Ac yr wŷfi yn mawr ddiolch i'n Tâd nefol, am iddo fy ngalw i gyfryw ſtât Iechŷdwriaeth trwŷ Jeſu Grîſt ein Iachawdr. Ac mi attolygaf i Dduw roddi i mi ei râd, môdd a gallwŷf aros yn yr unrhŷw hôll ddyddiau fy einioes.

*Qweſtion.* Adrodd i mi ſannau dy ffŷdd.

*Atteb.* CRedaf yn Nuw Dâd Hôll-gyfoethog, Creawdr nêf a daiar. Ac yn Jeſu Grîſt ei un Mab ef, ein Harglwŷdd ni: yr hwn a gaed trwŷ yr Yſprŷd glan, a aned o Fair forwŷn: a ddioddefodd dan Bontius Pilatus, a groeſhoeliwŷd, a fu farw ac a gladdwŷd, a ddeſcynnodd i uffern, y trydŷdd dŷdd y cyfododd o farw; a eſcynnodd i'r nefoedd, ac y mae yn eiſtedd ar ddeheulaw Dduw Dâd ôll gyfoethawg. Oddi yno y daw i farnu bŷw a meirw. Credaf yn yr Yſprŷd glan, yr Eglwŷs lân Gatholic, Cymmun y Sainct, maddeuant pechodau, Cyfodiad y cnawd, a'r bywŷd tragywŷddol. Amen.

*Qweſtion.* Pa beth yr wŷt ti yn ei ddyſcu yn bennaf yn y pyngciau hŷn o'th ffŷdd?

*Atteb.* Yn gyntaf yr wŷf yn dyſcu credu yn Nuw Dâd, yr hwn a'm gwnaeth i a'r hôll fŷd.

Yn ail yr ydwŷf yn dyſcu credu yn Nuw Fab, yr hwn a'm prynodd i a phôb rhŷw ddŷn.

Yn drydŷdd, yr wŷf yn dyſcu credu yn Nuw Yſprŷd glan yr hwn ſŷdd i'm ſancteiddio i, a hôll etholedig bobl Dduw.

*Qweſtion.* Ti a ddywedaiſt ddarfod i'th Dadau-bedŷdd a'th Fammau-bedŷdd, addo troſot ti, fôd i ti gadw gorchymmynion Duw; Dywed titheu i mi pa niſer ſŷdd o honŷnt.

*Atteb.* Dêg.

*Qweſtion.* Pa rai ydŷnt?

*Atteb.* Y Rhai hynnŷ a leſarodd Duw yn yr ugeinfed bennod o Exodus, gan ddywedŷd, Myfi ŷw'r Arglwŷdd dy Dduw yr hwn a'th ddûg di ymmaith o dîr yr Aipht, o dŷ y caethiwed.

I. Na fydded i ti dduwiau eraill onid myfi.

II. Na wnâ it dy hun ddelw gerfiedig, na llûn dim ag ſydd yn y nefoedd uchod, neu yn y ddaiar iſod; nag yn y dwfr tan y ddaiar. Na oſtwng iddŷnt ac na addola hwŷnt: Oblegid myfi yr Arglwŷdd dy Dduw wŷf Dduw eiddigus, yn ymweled a phechodau'r tadau ar y plant, hŷd y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth o'r rhai a'm caſânt, ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd o'r rhai a'm carant, ac a gadwant fy ngorchymmynion.

III. Na chymmer Enw yr Arglwŷdd dy Dduw yn ofer, canŷs nid gwirion gan yr Arglwŷdd yr hwn a gymmero ei Enw êf yn ofer.

IV. Coſia gadw yn ſanctaidd y dŷdd Sabbath. Chwê diwrnod y gweithi, ac a gwnei dy hôll waith: Ond y ſeithfed dŷdd ŷw Sabbath yr Arglwŷdd dy Dduw: ar y dŷdd hwnnw na wna ddim gwaith, tydi, na'th fâb, na'th ferch, na'th wâs, na'th forwŷn, na'th anifail, na'r dŷn dieithr a fyddo o fewn dy bŷrth, canŷs mewn chwê diwrnod a gwnaeth yr Arglwŷdd nêf a daiar, y môr, a'r hŷn ôll ſŷdd ynddŷnt, A gorffywŷſodd y ſeithfed dŷdd. O herwŷdd pa ham y bendithiodd yr Arglwŷdd y ſeithfed dŷdd, ac a'i ſancteiddodd êf.

V. Anrhydedda dy dâd a'th fam, fel yr eſtynner dy ddyddiau ar y ddaiar yr hon a rŷdd yr Arglwŷdd dy Dduw i ti.

VI. Na

VI. Na lâdd.
VII. Na wna odineb.
VIII. Na ledradta.
IX Na ddŵg gam dystiolaeth yn erbŷn dy gymmydog.
X. Na chwennych dŷ dy gymmydog, na chwennŷch wraig dy gymmydog, na'i wâs, na'i forwyn, na'i ŷch, na'i assŷn, na dim ar sŷdd eiddo.

*Qwestion.* Beth yr wŷt ti yn ei ddyscu yn bennaf wrth y gorchymmynion hŷn?

*Atteb.* Yr ydwŷf yn dyscu dau bêth: fy nylêd tuagat Dduw, a'm dylêd tuagat fy nghymmydog.

*Qwestion.* Pa bêth ŷw dy ddylêd tuag at Dduw?

*Atteb.* Fy nylêd tuag at Dduw, ŷw Credu ynddo, ei ofni, a'i garu, â'm hôll galon, â'm hôll feddwl, â'm holl enaid, ac â'm hôll nerth, Ei addoli êf, diolch iddo, rhoddi fy hôll ymddiried ynddo, galw arno, anrhydeddu ei sanctaidd Enw ef a'i air, a'i wasanaethu yn gywir hôll ddyddiau fy mywŷd.

*Qwestion.* Pa bêth ŷw dy ddylêd tuag at dy gymmydog?

*Atteb.* Fy nylêd tuag at fy nghymmydog ŷw, ei garu fel fi fy hun, a gwneuthur i bôb dŷn megis a chwennychwn iddo wneuthur i minneu. Caru o honof, anrhydeddu, a chymmorth fy nhâd a'm mam. Anrhydeddu, ac ufuddhau i'r Brenin a'i swŷddogion. Ymddarostwng i'm hôll lywiawdŷr, dyscawdwŷr, Bugeiliaid ysprydol, ac athrawon. Ymddwŷn o honof yn ostyngedig, gan berchi pawb o'm gwell. Na wnelwŷf niwed i nêb ar air na gweithred. Bôd yn gywir ac yn union ymhôb pêth a wnelwŷf. Na bo na châs na digllonedd yn fy nghalon i nêb. Cadw o honof fy nwŷlaw rhag chwilenna a lledradta, cadw fy nhafod rhag dywedŷd celwŷdd, cabl-eiriau, na drŵg absen. Cadw fy nghorph mewn cymhedroldeb, sobrwŷdd, a diweirdeb. Na chybyddwŷf ac na ddeisyfwŷf ddâ na golud nêb arall. Ond dyscu, a llafurio yn gywir, i geisio ennill fy mywŷd, a gwneuthur a ddylwŷf, ymmha rŷw fuchedd bynnag a rhyngo bôdd i Dduw fy ngalw.

*Qwestion.* Fy anwŷl blentŷn, gwŷbydd hŷn ymma, nad wŷt ti abl i wneuthur y pethau hŷn o honot dy hun, nag i rodio yngorchymmynion Duw, nag iw wasanaethu ef, heb ei yspysol rad ef; yr hwn sŷdd raid i ti ddyscu yn wastad ymorawl amdano trwŷ ddyfal weddi. Gan hynnŷ moes i mi glywed a fedri di ddywedŷd gweddi yr Arglwŷdd.

*Atteb.*

EIn Tâd yr hwn wŷt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Deled dy deŷrnas. Bydded dy ewŷllŷs ar y ddaiar megis a mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddŷw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nag arwain ni i brofedigaeth; Ond gwared ni rhag drŵg. Amen.

*Qwestion.* Pa beth yr wŷt ti yn ei ofyn gan Dduw yn y weddi hon?

*Atteb.* Ydwŷf yn gofŷn i'm Harglwŷdd Dduw ein Tâd nefol, yr hwn ŷw rhodd-ŵr pôb daioni, ddanfon ei râd arnaf, ac ar yr hôll bobl, fel y gallom ei anrhydeddu ef, a'i wasanaethu, ac ufuddhau iddo megis y dylem. Ac yr wŷf yn gweddio ar Dduw ddanfon i ni bôb pêth angenrheidiol, yn gystal i'n heneidiau, ag i'n cŷrph; A bôd yn drugarog wrthŷm, a maddeu i ni ein pechodau; A rhyngu bodd iddo ein cadw a'n hamddiffyn ymhob perigl ysprydol, a chorphorol: A chadw o hono nyni rhag pôb pechod ac anwiredd, a rhag ein gelyn ysprydol, a rhag angeu tragywŷddol. A hŷn yr ydwŷf yn ei obeithio

y gwna efe o'i drugaredd a'i ddaioni, trwŷ ein Harglwŷdd Jesu Grîst: ac am hynnŷ yr wŷf yn dywedŷd, Amen, Bydded felly.

*Qwestion.*

PA sawl Sacrament a ordeiniodd Crîst yn ei Eglwŷs?

*Atteb.* Dau yn unig, megis yn gyffredinol yn angenrhaid i iechydwriaeth, sef, Bedŷdd, a Swpper yr Arglwydd.

*Qwestion.* Pa beth yr wyt ti yn ei ddeall wrth y gair hwn Sacrament?

*Atteb.* Yr wŷfi yn deall Arwŷdd gweledig oddiallan, o râs ysprydol oddi fewn a roddir i ni; yr hwn a ordeiniodd Crîst ei hun, megis môdd i ni i dderbŷn y grâs hwnnw trwŷddo, ac i fôd yn wŷstl i'n siccrhau ni o'r grâs hwnnw.

*Qwestion.* Pa sawl rhan sŷdd mewn Sacrament?

*Atteb.* Dwŷ, yr arwŷdd gweledig oddiallan, a'r gras ysprydol oddifewn.

*Qwestion.* Pa bêth ŷw'r Arwŷdd gweledig oddiallan, neu'r ffurf yn y Bedŷdd?

*Atteb.* Dwfr: yn yr hwn y bedyddir un, Yn Enw'r Tad, a'r Mab, a'r Ysprŷd glân.

*Qwestion.* Pa bêth ŷw'r grâs ysprydol oddifewn?

*Atteb.* Marwolaeth i bechod, a genedigaeth newŷdd i gyfiawnder. Canys gan ein bôd ni wrth naturiaeth wedi ein geni mewn pechod, ac yn blant digofaint, drwŷ Fedŷdd a gwneir ni yn blant grâs.

*Qwestion.* Pa bêth a ddisgwilir gan y rhai a fedyddier?

*Atteb.* Edifeirwch, drwŷ'r hon y maent yn ymwrthod â phechod: A ffŷdd, drwŷ'r hon y maent yn ddiyscog yn credu addewidion Duw, y rhai a wneir iddŷnt yn y Sacrament hwnnw.

*Qwestion.* Pa ham wrth hynnŷ a bedyddir plant bychain, prŷd na's gallant o herwŷdd eu ieuengtŷd gyflawni y pethau hŷn?

*Atteb.* Oblegid eu bôd yn addaw pôb un o'r ddau drwŷ eu meichiau, yr hwn addewid pan ddelont i oedran, y maent hwŷ eu hunain yn rhwŷm iw gyflawni.

*Qwestion.* Pa ham yr ordeiniwŷd Sacrament Swpper yr Arglwŷdd?

*Atteb.* Er mwŷn tragywŷddol gôf am aberth dioddefaint marwolaeth Crîst, a'r lleshâd yr ydŷm ni yn ei dderbŷn oddiwrtho.

*Qwestion* Pa bêth ŷw y rhan oddi allan, neu'r Arwŷdd, yn Swpper yr Arglwŷdd?

*Atteb.* Bara a gwîn, y rhai a orchymmynnodd yr Arglwydd eu derbŷn.

*Qwestion.* Pa bêth ŷw y rhan oddifewn, neu'r peth a arwŷddocceir?

*Atteb.* Corph a gwaed Crîst, y rhai y mae'r ffyddloniaid yn wîr ac yn ddiau yn eu cymmerŷd ac yn ei derbŷn, yn Swpper yr Arglwŷdd.

*Qwestion.* Pa leshâd yr ydŷm ni yn ei gael wrth gymmeryd y Sacrament hwn?

*Atteb.* Cael cryfhâu a diddanu ein heneidiau drwŷ Gorph a gwaed Crîst, megis a mae ein cŷrph yn cael drwŷ'r bara a'r gwîn.

*Qwestion* Pa bêth sŷ' raid i'r rhai a ddêl i Swpper yr Arglwydd ei wneuthur?

*Atteb.* Eu holi eu hunain, a ydŷnt hwŷ yn wîr edifeiriol am eu pechodau a aeth heibio, ac yn siccr amcanu dilŷn buchedd newŷdd: a oes ganddŷnt ffŷdd fywiol yn nhrugaredd Duw drwŷ Grîst, gyda diolchus gôf am ei angeu ef, ac a ydŷnt hwŷ mewn cariad perffaith â phôb dŷn.

¶ *Bydded i Gurat pôb plwŷf yn ddiesceulus, ar y Suliau a gwŷliau, ar ôl yr ail llith o'r*

*o'r Gosper ddyscu ar osteg yn yr Eglwŷs, a holi cynnifer o blant ei Blwŷf, ag a ddanfonwŷd atto, ( megis a tybio efe fôd yn gymhesur ) yn rhŷw ran o'r Catechism hwn.*

¶ *A bydded i bôb tâd a mam, a phôb perchen tylaŷth beri iw plant, iw gwasanaeth-ddynnion, ac iw Prentisiaid,( y rhai ni ddyscasant eu Catechism ddyfod i'r Eglwŷs ar yr amser gosodedig a gwrando yn ufudd, a bôd wrth y lywodraeth y Curat, hŷd oni ddarffo iddŷnt ddyscu pôb pêth ac sŷdd ymma wedi ei osod iw ddyscu ganddŷnt.*

¶ *Er cynted ag y delo Plant i oedran cymhedrol, ac a medront ddywedŷd yn Iaith eu mam, sannau y ffŷdd, gweddi yr Arglwŷdd, y dêg gorchymmynnion, a hefŷd medru o honŷnt atteb i ymofynnion eraill o'r Catechism bŷrr ymma: Yna dygir hwŷ at yr Escob; Ac i lôb un o honŷnt y bŷdd Tâd bedŷdd neu Fam fedŷdd megis yn Dŷst o'i Gonffirmasion.*

¶ *A pha brŷd bynnag a rhoddo yr Escob ystyriaeth am ddwŷn plant atto, i'w Conffirmio, Curat pôb plwŷf a ddŵg neu a ddenfŷn yn scrifennedig tan ei law henwau y rhai oll, o fewn ei blwŷf, ag a dybio efe fôd yn gymmwŷs iw presentio i'r Escob, iw Conffirmio. Ac os yr Escob, a'u gwêl hwŷnt yn gymeradwŷ, efe a'u Conffirmia hwŷnt yn y drefn, sŷ'n canlŷn.*

---

## Trefn Conffirmasion, neu Arddodiad Dwylo ar y sawl a fedyddiwyd, ac a ddaethant i oedran pwyll.

¶ *Ar y dŷdd pwŷntiedig wedi gosod yn eu lle cynnifer ag a fo y prŷd hynnŷ i'w Conffirmio, ac yn sefŷll mewn trefn o flaen yr Escob, efe [ neu rŷw Weinidog arall pwŷntiedig ganddo ef ] a dderllŷn y rhag-ymadrodd hwn sŷdd yn canlŷn.*

ER mwŷn bôd ministrio Conffirmasion er mwŷ o adeilad i'r sawl a'i dernnio, tybiodd yr Eglwŷs yn ddâ, na Conffirmio nêb rhag llaw onid cyfw a fedro ddywedŷd y Credo, Gweddi Arglwŷdd, a'r Deng-air ddeddf, ac a dro hefŷd atteb i gyfrŷw ymofynnion a nhwŷsir yn y Catechism bŷrr. Yr hon efn sŷdd wedd lus iawn ei chadw, er llu o'r Plant ) wedi eu dyfod weithian edran synwŷr, ac wedi dyscu y petha addawsei eu Tadau bedŷdd a'u ammau-bedŷdd trostŷnt wrth eu beddio, ) eu hun, á'u genau eu hunain,( ac cŷdsynniad eu hunain ar osteg yngdd yr Eglwŷs, ) gadarnhau a chonmio yr unrhŷw; a hefŷd addaw trwŷ Râs Duw yr ymegnîant yn wastad i gadw yn ffyddlon y cyfrŷw bethau, ag a fu iddŷnt hwŷ a'u cyffes eu hunain gŷdsynniaw arnŷnt.

¶ *Yna a dywed yr Escob.*

A Ydŷch chwi ymma yngwŷdd Duw a'r gynnulleidfa hon yn adnewŷddu yr addewid parchus, a'r adduned a wnaethwŷd yn eich henw chwi wrth eich Bedyddio, gan gadarnhau a chonffirmio yr unrhŷw eich hunian, a chan gydnabod eich bod eich hunain yn rhwŷmedig i gredu a gwneuthur yr hôll bethau a addawodd eich Tadau bedŷdd a'ch mammau bedŷdd trosoch chwi?

¶ *A phôb un a ettŷb yn glywedawg.*

Yr ydwŷf.

*Yr Escob.*

EIn porth ni sŷdd yn Enw yr Arglwŷdd.

*Atteb.* Yr hwn a wnaeth nêf a daiar.

*Escob.* Bendigaid ŷw Enw yr Arglwŷdd.
*Atteb.* O hŷn hŷd yn oes oesoedd.
*Escob.* Arglwŷdd gwrando ein gweddiau.
*Atteb.* A deled ein llêf hŷd attat.

*Escob.*

Gweddiwn.

HOll-alluog a bŷth-fŷwiol Dduw, yr hwn a fu wiw gennit adgenhedlu dy weision hŷn trwŷ ddwfr a'r Yspryd glân, ac a roddaist iddŷnt faddeuant o'u holl bechodau: nertha hwŷ, ni a attolygwn i ti Arglwŷdd, a'th Yspryd glân y Diddan-ŵr: A pheunŷdd ychwanega ynddŷnt dy aml ddonniau o râd, Yspryd doethineb a deall, Yspryd cyngor a nerth ysprydol; Yspryd gwŷbodaeth a gwîr dduwioldeb; A chyflawnhâ hwŷ Arglwŷdd ag Yspryd dy sanctaidd ofn, Yr awr hon ac yn dragywŷdd. Amen.

¶ *Yna a phôb un o honŷnt yn ei drefn yn gostwng ar ei liniau ger bron yr Escob, efe a ddŷd ei law ar ben pôb un, gan ddywedŷd.*

AMddiffŷn Arglwŷdd y plentŷn hwn [ neu dy wás hwn ] â'th rás nefol, fel y byddo iddo barhau yn eiddot ti bŷth, a pheunŷdd gynnyddu yn dy Yspryd glân fwŷ fwŷ, hŷd oni ddêl i'th deŷrnas dragywŷddol. Amen.

¶ *Yna y dywed yr Escob.*

Yr Arglwŷdd a fo gyda chwi.
*Atteb.* A chyda'th Yspryd dithau.

¶ *Ac ( a phawb ar eu gliniau ) yr Escob a ddywed yn hellach.*

Gweddiwn.

EIn Tâd yr hwn wyt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Deled dy deyrnas. Bydded dy ewŷllŷs ar y ddaiar megis y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel a maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nag arwain ni i brofedigaeth; Ond gwared ni rhag drwg. Amen.

¶ *A'r Colect hwn.*

HOll-alluog a bŷth-fŷwiol Dduw, yr hwn wŷt yn peri i ni ewŷllysio, a gwneuthur yr hŷn sŷdd ddâ ac yn gymmeradwŷ gan dy fawredd: Yr ydŷm yn gwneuthur ein gostyngedig erfynnion attat dros dy weision hŷn, y rhai [ yn ôl esampl dy sanctaidd Apostolion ] a gosodasom ein dwŷlo arnŷnt, i'w siccrhau hwŷ trwŷ yr arwŷdd hwn, fod dy ymgeledd a'th radlawn ddaioni tuag attŷnt: Bydded dy dadol law, ni a attolygwn i ti, bŷth arnŷnt: Bydded dy Yspryd glân bŷth gyda hwŷ, ac fellu tywŷs hwŷ yngwŷbodaeth ac ufudd-dod dy air, mòdd y gallont yn y diwedd fwŷnhau bywŷd tragywŷddol, trwŷ ein Harglwŷdd Jesu Grist, yr hwn gyda thi, a'r Yspryd glân sŷdd yn bŷw ac yn teŷrnasu yn un Duw, heb drangc na gorphen. Amen.

HOll-alluog Arglwŷdd, a bŷth-fŷwiol Dduw, ni a attolygwn i ti fod yn wiw gennit uniawni, sancteiddio, a llywodraethu ein calonnau a'n cyrph, yn ffŷrdd dy ddeddfau, ac yngweithredoedd dy orchymynnion, megis trwŷ dy gadarnaf nodded, ymma ac yn dragywŷddol, a gallom fôd yn gadwedig gorph ac enaid, trwŷ ein Harglwŷdd a'n Iachawdr Jesu Grist. Amen.

¶ *Yna y Bendithia yr Escob hwŷnt, gan ddywedŷd hŷn.*

BEndith yr Holl-alluog Dduw, y Tâd, y Mâb a'r Yspryd glân, fyddo arnoch, ac a drigo gyda chwi yn dragywŷdd. Amen.

¶ *Ac ni dderbynnir nêb i'r Cymmun sanctaidd, nes iddo gael ei Gonffirmasion, neu fôd o hono yn barod, ac yn ewyllysgar i'w gonffirmio.*

bŷwhêir pawb. ond pôb un yn ei drefn ei hun. Y blaenffrwŷth ŷw Criſt, wedi hynnŷ y rhai ydŷnt eiddo Criſt, yn ei ddyfodiad ef. Yna y bŷdd y diwedd, wedi y rhoddo efe y deŷrnas i Dduw a'r Tad, wedi iddo ddileu pôb pendefigaeth, a phôb awdurdod a nerth, Canŷs rhaid iddo deŷrnaſu, hŷd oni oſodo ei holl elynion tan ei draed. Y gelŷn diweddaf a ddiniſtrir ŷw yr angeu. Canŷs efe a ddaroſtyngodd bôb peth tan ei draed êf, ond pan ŷw yn dywedŷd fôd pôb pêth wedi eu daroſtwng, amlwg ŷw mai oddieithr yr hwn a ddaroſtyngodd pôb peth iddo. A phan ddaroſtynger bôb peth iddo, yna y Mâb ei hun hefŷd a ddaroſtyngir, i'r hwn a ddaroſtygodd pôb peth iddo ef, fel y byddo Duw oll yn oll. Os amgen, bêth a wna y rhai a fedyddir tros y meirw, os y meirw ni chyfodir ddim? Paham ynteu y bedyddir hwŷ tros y meirw? A pha ham yr ydŷm ninnau mewn perŷgl bôb awr? Yr ydwŷf beunŷdd yn marw, myn eich gorfoledd yr hon ſŷdd gennif yn Ghriſt Jeſu ein Harglwŷdd. Os yn ôl dull dŷn yr ymleddais ag anifeiliaid yn Ephefus, pa leſhad ſŷdd i mi oni chyfodir y meirw? Bwŷtawn, ac yfwn, canŷs y foru marw yr ydŷm: Na thwŷller chwi, y mae ymddiddanion drŵg yn llygru moeſau dâ. Deffrowch yn gyfiawn, ac na phechwch, canŷs nid oes gan rai wŷbodaeth am Dduw: er cywilŷdd i chwi yr wŷf yn dywedŷd hŷn. Ond fe a ddywaid rhŷw un, Pa fôdd y cyfodir y meirw? Ac â pha rŷw gorph y deuant? Oh ynfŷd; y pêth yr wŷt ti yn ei hau ni fŷwhêir oni bŷdd efe marw. A'r pêth yr wŷt yn ei hau, nid y corph a fŷdd yr ydwŷt yn ei hau, ond gronŷn noeth yſcatfŷdd o wenith, neu o rŷw rawn arall. Ond Duw ſŷdd yn rhoddi iddo gorph, fel y mynnodd efe, ac i bôb hedŷn ei gorph ei hun. Nid ŷw pôb cnawd unrhŷw gnawd; ond arall ŷw cnawd dynion, ac arall ŷw cnawd anifeiliaid, a chnawd arall ſŷdd i byſcod, ac arall i adar. Y mae hefŷd gŷrph nefol, a chŷrph daiarol; ond arall ŷw gogoniant y rhai nefol, ac arall y rhai daiarol. Arall ŷw gogoniant yr haul, ac arall ŷw gogoniant y lloer; ac arall ŷw gogoniant y ſêr: canŷs y mae rhagor rhwn ſeren a ſeren mewn gogoniant, Fellŷ hefŷd y mae adgyfodiad y meirw: efe a heuir mewn llygredigaeth, ac a gyfodir mewn anllygredigaeth. Efe a heuir mewn ammarch, ac a gyfodir mewn gogoniant: efe a heuir mewn gwendid, ac a gyfodir mewn nerth: efe a heuir yn gorph anianol, ac a gyfodir yn gorph Yſprydol. Y mae Corph anianol, ac y mae corph yſprydol. Fellŷ hefŷd y mae yn yſcrifenedig; Y dŷn cyntaf Addaf a wnaed yn enaid bŷw, a'r Adda diweddaf yn yſprŷd yn bŷwhâu. ond nid cyntaf yr yſprydol, ond yr anianol, ac wedi hynnŷ yr yſprydol; Y dŷn cyntaf o'r ddaiar yn ddaiarol, yr ail dŷn yr Arglwŷdd o'r nêf: Fel y mae y daiarol, fellŷ y mae y rhai daiarol, ac fel y mae y nefol, fellŷ mae y rhai nefol hefŷd. Ac megis y dygaſom ddelw y daiarol, ni a ddygwn hefŷd ddelw y nefol. Ond hŷn meddaf, ô frodŷr, na ddichon cîg a gwaed etifeddu teŷrnas Dduw; ac nad ŷw llygredigaeth yn etifeddu anllygredigaeth Wele, yr wŷf yn dywedŷd i chwi ddirgelwch; Ni hunwn ni oll, ond ni a newidir oll mewn moment, ar darawiad llygad, wrth yr udcorn diweddaf. Canŷs yr udcorn a gân, a'r meirw a gyfodir yn anllygredig, a ninnau a newidir. O herwŷdd rhaid i'r llygradwŷ hwn wiſco anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn wiſco anfarwoldeb. A phan ddarffo i'r llygradwŷ hwn wiſco anllyg

llygredigaeth; ac i'r marwol hwn wisco anfarwoldeb, yna y bŷdd yr ymadrodd a scrifennwŷd, Angeu a lyngcwŷd mewn buddugoliaeth. O angeu pa le y mae dy golŷn, o uffern pa le mae dy fuddugoliaeth? Colŷn angeu ŷw pechod, a grŷm pechod yw'r gyfraith. Ond i Dduw a byddo'r diolch, yr hwn sŷdd yn rhoddi i ni fuddugoliaeth trwy ein Harglwŷdd Jesu Grîst. Am hynnŷ fy mrodŷr anwŷl, byddwch siccr, a diymwad, a helaethion yngwaith yr Arglwŷdd yn oestadol, a chwi'n gwŷbod nad ŷw eich llafur chwi yn ofer yn yr Arglwŷdd.

¶ *Pan ddelont at y bedd, tra fyddo'r corph yn ei baratoi iw ddodi yn y ddaiar, y dywed yr Offeiriad, neu yr Offeiriad a'r yscolheigion a ganant:*

Dŷn a âned o wraig sŷdd a bŷrr amser iddo i fŷw, ac sŷdd yn llawn trueni. Y mae efe yn blaguro fel llysieuŷn, ac a dorrir i lawr, ac a ddiflanna fel cyscod, ac ni saif.

Ynghanol ein bywŷd yr ydŷm mewn angeu, gan bwŷ y mae i ni geisio ymwared onid gennit ti Arglwŷdd, yr hwn am ein pechodau wŷt yn gyfiawn yn ddigllawn?

Er hynnŷ Arglwŷdd Dduw sanctеiddiaf, Arglwŷdd galluogcaf, ô sanctaidd a thrugarog Iachawdr, na ollwng ni i ddygŷn a chwerwf boenau angau tragywŷddol.

Ti Arglwŷdd a adwaenost ddirgelion ein calonnau na chaua dy glustiau trugarog oddiwrth ein gweddiau, ond arbed nyni O Arglwŷdd sanctеiddaif, O Dduw galluogcaf, o sanctaidd a thrugarog Iachawdr, Tydi deilyngaf farnŵr tragywŷddol, na âd ni yn yr awr ddiwaethaf er rhŷw boenau angeu, i syrthio oddi-wrthit.

¶ *Yna tra fydder yn bwrw prîdd ar y corph gan rŷw rai a fo yn sefŷll yno, yr Offeiriad a ddywed.*

YN gymmaint a rhyngu bôdd i'r Goruchaf Dduw o'i fawr drugaredd, gymmerŷd atto ei hun enaid ein hanwŷl frawd yma a ymadaodd a'r bŷd, gan hynnŷ yr ŷm ni yn rhoddi ei gorph ef i'r ddaiar, lêf, daiar i'r ddaiar, lludw i'r lludw, prîdd i'r prîdd, mewn gwîr ddiogel obaith o adgyfodiad i fuchedd dragywŷddol, trwŷ ein Harglwŷdd Jesu Grîst, yr hwn a newidia ein corph gwael ni, fel y byddo yn gyffelŷb iw gorph gogoneddus êf, o herwŷdd y galluog weithrediad, trwŷ yr hwn a dichon efe ddarostwng pôb dim iddo ei hun.

¶ *Yna y dywedir neu y cenir.*

MI a glywais lais or nêf yn dywedŷd wrthif. yscrifenna, o hŷn allan gwnfŷdedig ŷw y meirw y rhai sy yn marw yn yr Arglwŷdd; fellŷ y dywed yr Ysprŷd, canŷs y maent yn gorphywŷso oddiwrth eu llafur.

¶ *Yna y dywed yr Offeiriad.*

Arglwŷdd trugarhâ wrthŷm.
*Crîst trugarhâ wrthŷm.*
Arglwŷdd trugarha wrthŷm.

EIn Tâd yr hwn wŷt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Deled dy Deyrnas. Bydded dy ewŷllŷs ar y ddaiar megis y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddŷw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nag arwain ni i brofedigaeth; Ond gwared ni rhag drŵg. Amen.

*Offeiriad.*

HOll-alluog Dduw, gŷd a'r hwn y mae yn bŷw ysprydoedd y rhai

rhai a ymadawſant oddiymma yn yr Arglwŷdd, ac yn yr hwn y mae eneidiau y ffyddloniaid wedi darfod eu rhŷddhâu oddiwrth faich y cnawd, mewn llawenŷdd a dedwŷddŷd: Yr ydŷm yn mawr ddiolch i ti, fod yn wiw gennit waredu ein *Brawd* hwn allan o drueni y bŷd pechadurus hwn, gan attolygu i ti, ryngu bôdd it o'th radlawn ddaioni, gyflawni ar fyrder nifer dy etholedigion, a phryſuro dy deŷrnas, môdd y gallom ni gyda'r rhai ôll a ymadawſant â'r bŷd mewn gwîr ffŷdd o'th Enw bendigedig, gaffael i ni ddiwedd perffaith, a gwŷnfŷd ynghorph ac enaid, yn dy ogoniant tragywŷddol, trwŷ Jeſu Grîſt ein Harglwŷdd. *Amen.*

*Y Colect.*

O Drugarog Dduw, Tâd ein Harglwŷdd Jeſu Grîſt, yr hwn ŷw y cyfodiad a'r bywŷd, ym-mha un, pwŷ bynnag a gredto a fŷdd bŷw er iddo farw. A phwŷ bynnag a fo bŷw ac a gredto ynddo ef, ni bŷdd marw bŷth, yr hwn hefŷd a'n dyſcodd ( trwy ei Apoſtol bendigedig Saint Paul ) na [illegible]ſtiem fel rhai heb obaith, dros y rhai a hunant ynddo êf: Nyni yn oſtyngedig a attolygwn i ti O Dâd, ein cyfodi ni o angeu pechod i fuchedd cyfiawnder, fel y bo i ni wedi ymado a'r fuchedd hon, allu gorphwŷs ynddo ef, Megis y mae ein gobaith fod ein *brawd* hwn: Ac ar y cyfodiad cyffredin y dŷdd diweddaf, allu ein caffael yn gymmeradwŷ yn dy olwg di, a derbŷn y fendith a ddatcan dy garedig Fâb yr amſer hynnŷ i bawb a'r a'th ofnant, ac a'th garant, gan ddywedŷd, Deuwch chwi fendigedig blant fy Nhâd, Meddiennwch y deŷrnas a barodtowŷd i chwi er pan ſeiliwŷd y Bŷd. Caniadhâ hŷn, ni a attolygwn i ti O drugarog Dâd, trwŷ Jeſu Grîſt ein Cyfryngwr a'n Prynnwr. *Amen.*

RHâd ein Harglwŷdd Jeſu Grîſt, a Chariad Duw, a chymdeithas yr Yſprŷd glân, a fyddo gyda ni ôll bŷth bythoedd. *Amen.*

---

**Diolch gwragedd yn ol eſcor plant, yr hwn a elwir yn gyffredin, Rhyddhau, neu Eglwyſa gwragedd.**

¶ *Y wraig ar amſer arferedig ar ôl Eſcor, a ddaw i'r Eglwŷs, wedi ymwiſco yn weddus, ac yno y goſtwng ar ei gliniau yn rhŷw le cyfaddas, fel yr arferwŷd, neu megis yr appwŷntia yr Ordinari: Ac yno yr Offeiriad a ddywed wrthi.*

YN gymmaint a rhyngu bôdd i'r goruchaf Dduw o'i ddaioni, roddi i ti ryddhâd ymwaredol, a'th gadw yn y mawr berigl wrth eſcor: ti a ddiolchi yn ewŷllyſgar i Dduw, ac a ddywedi.

( ¶ *Yna a dywed yr Offeiriad y Pſalm hon.* )

*Dilexi quoniam.* Pſal. 116.

DA gennif wrando o'r Arglwŷdd ar fy llêf, a'm gweddiau.

Am oſtwng o honaw ei glûſt attaf.

Am hynny llefaf tros fy nyddiau arno ef.

Gofidion angeu a'm cylchaſant: a gofidiau uffern a'm daliaſant, ing a blinder a gefais.

Yna y gelwais ar enw'r Arglwŷdd: attolwg Arglwŷdd gwared fy enaid.

Graſlawn ŷw'r Arglwŷdd, a chyfiawn; a thoſturiol ŷw ein Duw ni.

 Yr

Yr Arglwŷdd sŷdd yn cadw y rhai annichellgar: tlodais, ac efe a'm hachubodd.

Dychwel ô fy enaid i'th orphwŷsfa: canŷs yr Arglwŷdd fu ddâ wrthit.

O herwŷdd it waredu fy enaid oddiwrth angeu: fy llygaid oddiwrth ddagrau, a'm traed rhag llithro.

Rhodiaf o flaen yr Arglwŷdd yn nhîr y rhai bŷw.

Credais, am hynnŷ y lleferais: Cystuddiwŷd fi'n ddirfawr.

Mi a ddywedais yn fy ffrwŵst, pôb dŷn sŷdd gelwŷddog.

Bêth a dalaf i'r Arglwŷdd, am ei hôll ddonniau i mi?

Phiol iechŷdwriaeth a gymmeraf, ac ar enw'r Arglwŷdd y galwaf.

Talaf fy addunedau i'r Arglwŷdd, yn awr yngŵŷdd ei hôll bobl.

Ynghynteddoedd tŷ'r Arglwŷdd: yn dy ganol di O Jerusalem, Molwch yr Arglwŷdd.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Ysprŷd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awr hon, ac a bŷdd yn oestad: yn oes oesoedd. *Amen.*

¶ *Neu'r Psalm hon.*

*Nisi Dominus.* Psal. 127.

OS yr Arglwŷdd nid adeilada y tŷ, ofer a llafuria ei adeilad-wŷr wrtho, Os yr Arglwŷdd ni cheidw'r ddinas, ofer y gwilia y ceidwaid.

Ofer i chwi foreu godi, myned yn hŵŷr i gyscu, bwŷdt bara gofidiau: fellu y rhŷdd efe hûn iw anwŷlŷd.

Wele, plant ydŷnt etifeddiaeth yr Arglwŷdd, ei wobr êf, ŷw ffrwŷth y grôth.

Fel y mae saethau yn llaw y cadarn, fellu y mae plant ieuenctid.

Gwŷn ei fŷd y gŵr a lanwodd ei gawell saethau â hwŷnt: ni's gwradwŷddir hwŷ, pan ymddiddanant a'r gelynion yn y porth.

Gogoniant i'r Tad, ac i'r Mâb, ac i'r Ysprŷd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu, a mae yr awr hon, ac a bŷdd yn oestad: yn oes oesoedd. *Amen.*

¶ *Yna a dywed yr Offeiriad.*

Gweddiwn.

Arglwŷdd trugarhâ wrthŷm.
*Crist trugarhâ wrthŷm.*
Arglwŷdd trugarhâ wrthŷm.

EIn Tad yr hwn wŷt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Deled dy Deŷrnas. Bydded dy Ewŷllys ar y ddaiar megis a mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddŷw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion fel y maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nag arwain ni i brofedigaeth; Ond gwared ni rhag drŵg. Canŷs eiddot ti ŷw'r Deŷrnas a'r gallu, a'r gogoniant yn oes oesoedd. *Amen.*

*Gweinidog.* Arglwŷdd cadw dy wasanaeth-wraig hon.

*Atteb.* Yr hon sŷdd yn ymddiried ynot.

*Gweinidog.* Bŷdd iddi yn dŵr cadarn,

*Atteb.* Rhag wŷneb ei gelŷn.

*Gweinidog.* Arglwŷdd, erglŷw ein gweddiau.

*Atteb.* A deled ein llêf hŷd attat.

*Gweinidog.* Gweddiwn.

HOll-alluog Dduw, nyni yn ostyngedig a ddiolchwn i ti ryngu bodd it waredu dy wasanaeth-wraig hon oddiwrth y mawr boen a'r perigl ar anedigaeth dŷn bâch: Caniadhâ ni attolygwn i ti drugarogcaf Dâd, allu

o honi drwŷ dy gynhorthwŷ di, fŷw yn ffyddlawn, a rhodio yn ôl dy ewŷllŷs di, yn y fuchedd bresennol hon; a hefŷd bôd yn gyfrannog o'r gogoniant tragywŷddol yn y fuchedd a ddaw, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

¶ *Rhaid i'r wraig a ddêl i dalu diolch, offrymmu yr offrymmau defodawl, ac o bŷdd Cymmun, iawn ŷw iddi gymmerŷd y Cymmun bendigedig.*

---

**Y Comminasion. neu Gyhoeddiad digofaint a barnedigaethau Duw yn erbyn pechaduriaid; A rhyw weddiau iw harfer ar y dydd cyntaf o'r Grawys, Ac ar amryw amserau pan appwyntio'r Ordinari.**

¶ *Ar ôl y forenol weddi ar ddinedd y Litani yn ôl môdd arferedig, yr Offeiriad yn y lle a darllennir y gwasanaeth, neu yn y Pulpŷt a ddywed.*

Y Brodŷr, yn y brîf Eglwŷs gŷnt yr oedd dyscyblaeth Dduwiol, Nid amgen bod yn nechreu'r Grawŷs, roi cyfrŷw ddynnion ac oeddent bechaduriaid cyhoedd, i benŷd cyhoedd, a'u poeni yn y bŷd ymma, môdd y byddei eu heneidiau gadwedig yn nŷdd yr Arglwŷdd: ac megis y gallei eraill, wedi eu rhybuddio drwŷ eu esampl hwŷ, fod yn ofnusach i wneuthur ar gam.

Yn lle hynnŷ, hŷd onid adnewŷdder y ddywededig ddŷscyblaeth [ yr hŷn a ddylid ei ddymuno yn fawr ] fe dybiwŷd fôd yn ddâ yr amser hŷn, yn eich gŵydd chwi ôll, ddarllen y sentensiau cyffredin o felldithion Duw yn erbŷn pechaduriaid anedifeiriol, y rhai a gasclwŷd allan o'r seithfed bennod ar hugain o Deuteronomium, a lleoedd eraill o'r Scrythŷr lân: a bôd i chwi atteb i bôb sentens, *Amen.* Er mwŷn, gwedi darfod fellu eich rhybuddio am fawr ddigllonder Duw yn erbŷn pechaduriaid, gallu eich gwahodd yn gŷnt i ddifrif, a gwîr edifeirwch, a bôd i chwi rodio yn ddiesceulusach y dyddiau enbŷd hŷn, gan gilio oddiwrth gyfrŷw feiau ac yr ydŷch chwi yn siccrhau a'ch geneuau eich hunain, fôd melldith Dduw yn ddyledus am danŷnt.

Melldigedig ŷw y nêb a wnêlo ddelw gerfiedig neu doddedig iw haddoli. *Deuteronomium,* 27. 15.

¶ *A'r bobl a attebant, ac a ddywedant,*

*Amen.*

*Gweinidog.* Melldigedig ŷw yr hwn a felldithio ei dâd neu ei fam. *adnod* 16.

*Atteb.* *Amen.*

*Gweinidog.* Melldigedig ŷw yr hwn a symmudo derfŷn Tîr ei gymmydog. *adnod* 17.

*Atteb.* *Amen.*

*Gweinidog.* Melldigedig ŷw yr hwn a baro i'r dall gyfeiliorni allan o'i ffordd. *adnod.* 18.

*Gweinidog.* Melldigedig ŷw yr hwn a ŵyro farn y dieithr, yr ymddifad, a'r weddw. *adnod.* 19.

*Atteb.* *Amen.*

*Gweinidog.* Melldigedig ŷw y nêb a drawo ei gymmydog yn ddirgel. *ad.* 24.

*Atteb.* *Amen.*

*Gweinidog.* Melldigedig ŷw yr hwn a orweddo gyda gwraig ei gymmydog, *Leviticus.* 20. 10.

*Atteb.* *Amen.*

*Gweinidog.* Melldigedig ŷw yr hwn a gymmero wobr er di eneidio neu lâdd y gwirion. *Deuteronomium.* 27. 25.

*Atteb.* *Amen.*

*Gweinidog.* Melldigedig ŷw yr hwn a roddo ei ymddiried mewn dŷn, ac a gymmero ddŷn yn amddiffŷn iddo, ac yn ei galon a gilio oddiwrth yr Arglwŷdd. *Jeremi.* 17. 5.

*Atteb.* *Amen.*

*Gweinidog.* Melldigedig ŷw yr annhrugarog, y godinebus, a'r rhai a dorrant briodas, a'r cybyddion, addol-wŷr delwau, enllib-wŷr, meddwon, a'r cribddeilwŷr. *Math.* 25. 41. 1 *Cor.* 6. 9, 10.

*Atteb.* *Amen.*

*Gweinidog.*

YN-awr, yn gymmaint a'u bôd hwŷ ôll yn felldigedig [ fel y tystia Dafŷdd Brophwŷd ] y rhai sŷ yn cyfeiliorni, ac yn myned ar ddidro oddiwrth orchymmynion Duw: moeswch i ni[gan feddylio am y farn ofnadwŷ sŷdd goruwch ein pennau, ac sŷdd ger ein llaw] ymchwelŷd at ein Harglwŷdd Dduw â chwbl gystudd, a gostyngeiddrwŷdd calon, gan ddwŷn galar a thrymder dros ein buchedd bechadurus, gan gydnabod a chyffessu ein camweddau, a cheisio dwŷn ffrwŷthau teilwng i edifeirwch. Canŷs yn awr y gosodwŷd y fwŷall ar wreiddin y pren, fel y cymmynir i lawr, ac y bwrir i'r tân bôb pren ni ddygco ffrwŷth dâ. Pêth ofnadwŷ ŷw syrthio yn nwŷlaw y Duw bŷw. Efe a dywallt lâw ar y pechaduriaid, maglau, tân, a brwmstan, storm a thymestl, hŷn sŷdd eu rhan hwŷ iw yfed. Canŷs wele y mae'r Arglwŷdd wedi dyfod allan o'i le, i ymweled ag anwiredd y rhai sŷ yn trigo ar y ddaiar. Ond pwŷ a ddichon aros dŷdd ei ddyfodiad ef? Pwŷ a ddichon barhau pan ymddangoso efe? Ei wŷntill sŷdd yn ei law, ac efe a gartha ei lawr, ac a gasgl ei wenith iw yscubor, ond efe a lŷsc yr ûs â thân anniffoddadwŷ. Dŷdd yr Arglwŷdd a ddaw fel lleidr o hŷd nôs, a phan ddywedant, Tangneddŷf, ac y mae pôb pêth yn ddiogel, yna y daw distrŷw disyfed arnŷnt, fel y daw gofid ar wraig feichiog wrth escor, ac ni ddiangant. Yna yr ymddengys cynddaredd Duw yn y dŷdd dial, yr hwn a ddarfu i'r pechaduriaid anhydŷn ei bentyrru ar eu gwarthaf trwŷ gyndynrhwydd eu calonnau, y rhai a ddirmygent ddaioni, ammynedd, a hîr-ymaros Duw, pan ydoedd efe yn eu galw hwŷ yn wastad i edifeirwch. Yna y galwant arnaf, mêdd yr Arglwŷdd, ac ni wrandawaf; hwŷ am ceisiant yn foreu, ac ni'm caffant, a hynnŷ o herwŷdd iddŷnt gassau gwŷbodaeth, ac na dderbynient ofn yr Arglwŷdd, onid cassau fy nghyngor, a diystyru fy ngholpedigaeth.

Yno y bŷdd rhy-hŵŷr curo, wedi cau'r drws, a rhŷ-hŵŷr galw am drugaredd, pan ŷw amser cyfiawnder. Och mor aruthrol llêf y farn gyfiawnaf a draethir arnŷnt hwŷ! pan ddywedir wrthŷnt, Ewch y rhai melldigedig i'r tân tragywŷddol, yr hwn a ddarparwŷd i ddiafol a'i angelion.

Am hynnŷ frodŷr, ymchwelwn ŷn brydol, tra parhâo dŷdd yr iechŷd, Canŷs y mae'r nôs yn dyfod prŷd na allo nêb weithio: fellu tra fyddo i ni oleuni credwn yn y goleuni, a rhodiwn fel plant y goleuni, rhag ein bwrw i'r tywŷllwch eithaf, lle y mae gwŷlofain ac yscyrnygu dannedd. Na ddrŵg-arferwn ddaioni Duw, yr hwn sŷdd yn ein galw yn drugarog i wellau, ac o'i ddidrange dosturi, yn addo i ni faddeuant am a aeth heibio, os nyni [ â chwbl feddwl, ac â chalon gywir ] a ddychwelwn atto êf. Canŷs er bôd ein pechodau cŷn goched a'r yscarlad, hwŷ fyddant mor gannaid a'r eira: ac er eu bôd fel y porphor, etto hwŷ fyddant cŷn wŷnned a'r gwlan.

Ymchwelwch yn lân, mêdd yr Arglwŷdd, oddiwrth eich hôll anwiredd, ac

ac ni bŷdd eich pechodau yn ddestrŷw i chwi.

Bwrriwch ymaith oddiwrthŷch eich hôll annuwioldeb a wnaethoch, gwnewch i chwi galonnau newŷddion, ac Yspryd newŷdd. Pa ham a byddwch feirw, chwŷ-chwi tŷ yr Israel? gan na'm böddheir ym marwolaeth yr un a fo marw, mêdd yr Arglwŷdd Dduw: Ymchwelwch chwithau a bŷw fyddwch.

Er darfod i ni bechu, y mae i ni Ddadleuwr gyda'r Tâd Jesu Grist y Cyfion, ac efe ŷw'r iawn dros ein pechodau, Canŷs efe a archollwŷd dros ein camweddau, ac a darawŷd am ein hanwiredd. Ymchwelwn am hynnŷ atto êf, yr hwn ŷw trugarog dderbyniwr hôll wîr edifeiriol bechaduriaid, gan gwbl gredu ei fod êf yn barod i'n derbŷn, ac yn orau ei ewŷllŷs i faddeu i ni od awn atto mewn ffyddlawn edifeirwch? os nyni a ymostyngwn iddo? ac o hŷn allan a rodiwn yn ei ffŷrdd êf? os nyni a dderbyniwn ei iau esmwŷth êf? a'i faich yscafn arnom, iw ganlŷn êf mewn gostyngeiddrwŷdd, dioddefgarwch a chariad perffaith, a bôd o honom yn drefnedig wrth lywodraeth ei Yspryd glan êf, gan geisio yn wastad ei ogoniant, a'i wasanaethu yn ddyladwŷ yn ein galwedigaeth, gan ddiolch iddo. Os hŷn a wnawn? Crîst a'n gwared ni oddiwrth felldith y gyfraith, ac oddiwrth y felldith eithaf a ddiscŷn ar y sawl a fyddant ar y llaw asswŷ, ac efe a'n gesŷd ni ar ei ddeheulaw, ac a ddyru i ni wŷnfŷdedig fendith ei Dâd, gan orchymmŷn i ni gymerŷd meddiant yn ei ogoneddus deŷrnas, i'r hon poed teilwng fo ganddo ein dwŷn ni eu gŷd ôll, er ei anfeidrol drugaredd. Amen.

¶ *Yna y gostyngant bawb ar eu gliniau, a'r Offeiriad, a'r yscolheigion ar eu gliniau* [ *yn y fan lle maent arferedig o ddywedŷd y Litani* ] *a ddywedant y Psalm hon.*

*Miserere mei, Deus. Psal.* 51.

TRugarhâ wrthif O Dduw, yn ôl dy drugarogrwŷdd: yn ôl lliaws dy dosturiaethau dilêa fy anwireddau.

Golch fi yn llwŷr-ddwŷs oddiwrth fy anwiredd: a glanhâ fi oddiwrth fy mhechod.

Canŷs yr wŷf yn cydnabod fy nghamweddau, a'm pechod sŷdd yn wastad ger fy mron.

Yn dy erbŷn di, dy hunan y pechais, a gwneuthŷm y drwg hwn yndy olwg: fel i'th gyfiawnhaer pan leferŷch, ac y byddit bûr pan farnech.

Wele mewn anwiredd i'm lluniwŷd, ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf.

Wele, ceraist wirionedd oddimewn, a pheri i mi wŷbod doethineb yn ddirgel.

Glanhâ fi ag Yssop, ac mi a lanheir: golch fi, a byddaf wŷnnach na'r eira.

Pâr di i mi glywed gorfoledd, a llawenŷdd; fel y llawenycho yr escŷrn a ddrylliaist.

Cuddia dy wŷneb oddiwrth fy mhechodau a dilêa fy hôll anwireddau.

Crea galon lân ynof O Dduw: ac adnewŷdda Yspryd uniawn o'm mewn.

Na fwrw fi ymaith oddi ger dy fron: ac na chymmer dy Yspryd sanctaidd oddi-wrthif.

Dyro drachefn i mi orfoledd dy iechŷdwriaeth: ac â'th hael Yspryd cynnal fi.

Yna y dyscaf dy ffŷrdd i rai anwir: a phechaduriaid a droir attat.

Gwared fi oddiwrth waed O Dduw; Duw fy iechŷdwriaeth: a'm tafod a gân yn llafar am dy gyfiawnder.

Arglwŷdd, agor fy ngwefusau, a'm genau a fynega dy foliant.

Canŷs ni chwennychi aberth, pe amgen mi a'i rhoddwn, poeth ofrwm ni fynni.

Aberthau

Aberthau Duw ydŷnt yspryd dryll-iedig: Calon ddrylliog gystuddiedig, O Dduw, ni ddirmygi.

Gwna ddaioni, yn dy ewŷllŷsgarwch i Seion: Adeilada furiau Jerusalem.

Yna y byddi fodlon i ebŷrth cyfiawnder, i boeth offrwm, ac aberth llosc, yna'r offrymmant fustŷch ar dy allor.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mab, ac i'r Yspryd glân.

*Atteb.* Megis yr oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac y bydd yn oestad yn oes oesoedd. Amen.

Arglwŷdd trugarha wrthŷm.

*Crist trugarhâ wrthŷm.*

Arglwŷdd trugarhâ wrthŷm.

EIn Tâd yr hwn wŷt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Deled dy deŷrnas. Bydded dy ewŷllŷs ar y ddaiar megis y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddŷw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel a maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth; Ond gwared ni rhag drwg. *Amen.*

*Gweinidog.* Arglwŷdd cadw dy wasanaeth-ddynion.

*Atteb.* Y rhai a ymddiriedant ynot.

*Gweinidog.* Anfon iddŷnt borth oddiuchod.

*Atteb.* A bŷth amddiffŷn hwŷ yn gadarn.

*Gweinidog.* Cymorth nyni O Dduw ein Iachawdr.

*Atteb.* Ac er mwŷn gogoniant dy Enw gwared ni: Bŷdd drugarog wrthŷm bechaduriaid, er mwŷn dy Enw.

*Gweinidog.* Arglwŷdd gwrando ein gweddiau.

*Atteb* A deled ein llêf hŷd attat.

*Gweinidog.*

Gweddiwn.

O Arglwŷdd, ni attolygwn i ti, yn drugarog wrando ein gweddiau, ac arbed bawb a gyffessant eu pechodau wrthit, fel y bô i'r rhai a gyhuddir eu cydwybodau gan bechod, trwŷ dy drugarog faddeuant, fôd yn ollyngedig, trwŷ Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

O Alluogcaf Dduw, a thrugarogcaf Dâd, yr hwn wŷt yn tosturio wrth bôb dŷn, ac nid wŷt yn casâu dim a'r a wnaethost, yr hwn nid ewŷllysi farwolaeth pechadur, onid bŷw o hono ac ymchwelŷd oddiwrth bechod, a bod yn gadwedig: yn drugarog maddeu ein camweddau, derbŷn a chysura ni, y rhai ydym yn flin ac yn orthrwm gennym faich ein pechodau. Ti bia o briodolder drugarhau, i ti yn unig a perthŷn maddeu pechodau: Arbed nyni am hynny Arglwŷdd daionus. Arbed dy bobl y rhai a brynaist. Na ddwg dy weision i'r farn, y rhai ŷnt brîdd gwael, a phechaduriaid truain: Ond ymchwel fellu dy lîd oddiwrthŷm, y rhai ŷm yn ostyngedig yn cydnabod ein gwaeledd, ac yn wîr edifeiriol gennŷm ein beiau: fellu bryssia i'n cynhorthwŷo yn y bŷd hwn, fel y gallom bŷth fyw gyda thi yn y bŷd a ddaw, trwŷ Iesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

¶ *Yna y dywed y bobl hŷn ymma sŷdd yn canlŷn, ar ôl y Gweinidog.*

YMchwel di ni O Arglwŷdd daionus, ac yna yr ymchwelir ni, ystyria O Arglwŷdd, ystyria wrth dy bobl, y rhai sŷdd yn ymchwelŷd attat trwŷ wŷlofain, ymprydio, a gweddio; canŷs Duw trugarog ydwŷt ti, yn llawn tosturi, yn ddâ dy amynedd, ac yn fawr dy wârder, yr wŷt yn arbed pan ŷm yn haeddu poenau, ac yn dy lîd yr wŷt yn meddwl am drugaredd. Arbed dy bobl Arglwŷdd daionus, arbed hwŷ, ac na ddygcer dy etifeddiaeth i wradwŷdd:

wŷdd: clŷw nyni, Arglwŷdd, canŷs mawr ŷw dy drugaredd, ac yn ôl lliaws dy drugareddau, edrŷch arnom, trwŷ haeddedigaethau a chyfryngdod dy Fendigedig Fâb Jesu Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

¶ *Yna yr Offeiriad ei hun yn unig a ddywed.*

Bendithied yr Arglwŷdd ni, a chadwed ni; Derchafed yr Arglwŷdd ei wŷneb arnom, a rhodded i ni Dangneddŷf yr awr hon ac hŷd bŷth bythoedd. *Amen.*

---

## Ffurf o Weddi i'w harfer ar y MOR.

¶ *Y Foreuol a'r Brŷdnhawnol Weddi i'w harfer ar y Môr, a fyddant yr un ag a appwŷntiwŷd yn llyfr Gweddi Gyffredin.*

¶ *Y ddwŷ Weddi hŷn hefŷl yn canlŷn a arferir yn llynges ein Harglwŷdd frenin. bôb dŷdd.*

O Dragywŷddol Arglwŷdd Dduw, yr hwn yn unig wŷt yn tanu y nefoedd, ac yn rheoli angerdd y môr; yr hwn a amylchaist y dyfroedd â therfynau, hŷdoni ddarfyddo dŷdd a nôs; Rhynged bôdd it i ein derbŷn ni dy weision, a'r llynges, yn yr hon yr ŷm yn gwasanaethu, i'th hôll-alluog a'th rasusaf nodded. Cadw ni rhag perigl y môr, a rhuthr y gelŷn, fel a byddom amddiffŷn i'n grasusaf Arglwŷdd Frenin *WILIAM*, a'i deŷrnasoedd, ac yn ddiogelwch i'r sawl a gynniwerant rhŷd y moroedd ar eu negesau cyfreithlawn; fel y bo i breswŷlwŷr ein hynŷs dy wasanaethu di ein Duw, mewn heddwch a llonyddwch, ac i ninnau ddychwel adref mewn diogelwch i fwynhau bendithion y wlâd gydâ ffrwŷth ein llafur; ac mewn diolchgar goffa am dy drugareddau i foliannu a gogoneddu dy Enw bendigedig, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

*Y Colect.*

RHag-flaena ni, O Arglwŷdd yn ein hôll weithredoedd, â'th radlonaf hoffder, a rhwŷddhâ ni â'th barhâus gymmorth; fel yn ein hôll weithredoedd dechreuedig, anherfynedig, a therfynedig ynot ti, y gallom foliannu dy sanctaidd Enw, ac yn y diwedd gael drwŷ dy drugaredd fywŷd tragywŷddol, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

*Gweddiau iw harfer yn amser tymhestloedd ar y môr.*

O Alluogcaf a gogoneddus Arglwŷdd Dduw, wrth orchymmŷn yr hwn y mae'r gwŷntoedd yn chwŷthu, ac yn derchafu tonnau y môr, a'r hwn wŷt yn gostegu ei ryferthwŷ êf; yr ŷm ni, dy Greaduriaid, ond pechaduriaid truain, yn ein dirfawr gyfyngder hŷn yn llefain arnat am dy gymmorth; Achub Arglwŷdd, onide darfu am danom. Trâ yr oeddŷm yn ddiogel ac yn gweled pôb pêth yn heddychol o'n hamgŷlch, yr ŷm yn cyffessu, anghofio o honom dy di ein Duw, a gwrthod gwrando ar lêf ddistaw dy Air di, ac ufuddhau i'th orchymmynion: Ond yr awr hon ni a welwn mor ofnadwŷ ydwŷt ti yn dy hôll weithredoedd rhyfedd, y Duw mawr i'w ofni goruwch ôll. Am hynnŷ yr addolwn dy dduwiol fawredd, gan gydnabod dy allu, ac attolygu dy dosturi. Cymmorth, Arglwŷdd, ac achub ni, er dy drugareddau yng-Nghrîst Jesu dy Fâb, ein Harglwŷdd. *Amen.*

*Neu hon.*

O Drâ-gogoneddus, a grasusaf Arglwŷdd Dduw, yr hwn wŷt yn preswŷlio yn y nêf, ond yn canfod pôb pêth

pêth fod; Edrych i lawr ni a attolygwn i ti, a gwrando ni yn galw arnat o eigion trueni, ac o safn angeu, yr hwn sydd barod yr awr hon i'n traf-lyngcu, Achub, Arglwydd, onidê darfu am danom. Y bŷw, y bŷw, efe a'th fawl di. O danfon Air dy orchymmyn i geryddu angerdd y gwyntoedd a rhuad y môr! fel gan gael ein gwared allan o'n cyfyngder ymma, y byddom bŷw i'th wasanaethu di, ac i foliannu dy Enw hôll ddyddiau ein bywyd. Gwrando Arglwydd, ac achub ni, er anfeidrol ryglyddon ein gwynfydedig Iachawdwr dy Fâb, ein Harglwydd Jesu Grîst. *Amen.*

*Y Weddi a ddywedir o flaen brwydr, ar fôr yn erbyn pôb rhyw Elyn.*

O Alluogcaf! ac ardderchogcaf Arglwydd Dduw, Arglwydd y Lluoedd, yr hwn wyt yn llywodraethu, ac yn rheoli pôb pêth; Tydi wyt yn eistedd ar yr orseddfaingc, yn barnu yn gyfiawn. Am hynnŷ y cyfarwyddwn at dy dduwiol fawredd yn ein hangenoctid hwn, ar fôd i ti gymmeryd yr achos i'th law dy hun, a barnu rhyngom a'n gelynion. Cyfod dy nerth O Arglwydd, a thyred i'n cymmorth: Canys nid wyt bôb amser yn rhoddi y rhyfel i'r cedyrn, ond ti a ddichon achub gydâ llawer, neu gydâ ychydig, O na lydded i'n pechodau lefain yr awr hon i'n herbyn am ddial, ond gwrando ni dy weision trueiniaid yn ymbil am dy drugaredd, ac yn eiriol am dy Borth, ac am fod o honot yn amddiffyn i ni rhag wyneb y gelyn. Gwnâ yn hyspys, mai dy di yw ein hachubwr a'n cadarn waredwr ni, trwy Jesu Grîst ein Harglwydd. *Amen.*

¶ *Gweddiau byrrion i rai neillduol, nad allant ymgyfarfod i gyssylltu mewn*

*Gweddi ac eraill o herwydd y brwydr, neu'r demhestl.*

*Gweddiau Cyffredinol.*

ARglwydd, trugarhâ wrthym ni bechduriaid, ac achub ni er mwyn dy drugareddau.

Ti wyt y Duw mawr, yr hwn a wnaethost ac a wyt yn llywodraethu pob pêth; O gwared ni er mwyn dy Enw.

Ti wyt y Duw mawr i'w ofni uwch law oll: O achub ni, fel y molian-nom di.

*Gweddiau yspysawl o herwydd y gelyn.*

TYdi, O Arglwydd, wyt gyfiawn a galluog, O amddiffyn ein hachos yn erbyn y gelyn.

O Dduw, tydi wyt gadarn dŵr amddiffyn i bawb a ffoant attat; O achub ni rhag traha y gelyn.

O Arglwydd y lluoedd, ymladd trosom, fel y gallom dy ogoneddu di.

O na âd i ni suddo dan bwys ein pechodau, na thraha y gelyn.

O Arglwydd, cyfod, cymorth ni, a gwared ni er mwyn dy Enw.

*Gweddiau byrrion o ran y dymhestl.*

TYdi, O Arglwydd, yr hwn wyt yn dyhuddo terfysg y môr, gwrando ni, ac achub ni, fel na'n cyfr-goller.

O fendigedig Iachawdr, yr hwn a achubaist dy ddyscyblion, pan oeddynt ar ddiben cyfrgolli gan dymestl, gwrando ni, ac achub ni, ni attolygwn i ti.

Arglwydd trugarhâ wrthym.
*Crîst, trugarhâ wrthym.*
Arglwydd trugarhâ wrthym.
O Arglwydd, clyw nyni.
*O Crîst, clyw nyni.*
Duw y Tâd, Duw y Mâb, Duw yr Yspryd glân, trugarhâ wrthym, achub ni yr awr hon, ac yn dragywydd. *Amen.*

Ein

EIn Tâd yr hwn wŷt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Deled dy Deyrnas. bydded dy ewyllys ar y ddaiar megis y mae yn y nefoedd Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nag arwain ni i brofedigaeth; Ond gwared ni rhag drŵg: Canys eiddot ti ŷw'r deyrnas, a'r nerth, a'r gogoniant yn oes oesoedd. *Amen.*

¶ *Pan fo enbŷdrwŷdd yn gyfagos, cynnifer ac a aller eu hebcor oddiwrth wasanaeth angenrheidiol yn y llong, a elwir ynghŷd, ac hwŷ a wnant gyffes ostyngedig i Dduw o'u pechodau: Yn yr hon pôb un a ddylai gymmerŷd atto ei hun yn ddifrifol bôb un o'r pechodau hynnŷ, am y rhai y bô ei gydwŷbod yn ei gyhuddo: gan ddywedŷd fel y mae yn canlŷn.*

*Y Gyffes.*

HOll-alluog Dduw, Tâd ein Harglwŷdd Iesu Grist, gwneuthur-wr pôb dim, barnwr pôb dŷn, yr ŷm ni yn cydnabod, ac yn ymofidio dros ein hamrŷw bechodau a'n hanwiredd, y rhai o ddŷdd i ddŷdd yn orthrwm a wnaethom, ar feddwl, gair, a gweithred, yn erbŷn dy Dduwiol fawredd, gan annog yn gyfiawnaf dy ddigofaint a'th far i'n herbŷn. Yr ydŷm yn ddifrifol yn edifarhau ac yn ddrŵg gan ein calonnau, dros ein cam-weithredoedd hŷn; eu coffa sŷ drwm gennŷm; Eu baich sŷdd anrhaith ei oddef: Trugarhâ wrthŷm, trugarhâ wrthŷm, drugarocaf Dâd; er mwŷn dy un Mâb ein Harglwŷdd Jesu Grist, maddeu i ni yr hŷn ôll a aeth heibio, a chaniadhâ i ni allu byth o hŷn allan, dy wasanaethu a'th fodloni, mewn newŷdd-deb buchedd, er anrhydedd a gogoniant dy Enw, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

¶ *Yna y datcan yr Offeiriad, (os bŷdd un yn y llong) y gollyngdod hŷn.*

HOll-alluog Dduw, ein Tad nefawl, yr hwn o'i fawr drugaredd a addewaist faddeuant pechodau i bawb gan edifeirwch calon a gwîr ffŷdd a ymchwel atto: A drugarhao wrthych, a faddeuo i chwi, ac a'ch gwaredo oddiwrth eich hôll bechodau; ac a'ch cadarnhâo, ac a'ch cryfhâo ymhôb daioni, ac a'ch dygo i fywyd tragywyddawl, trwŷ Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Diolch ar ôl Tymestl.*

*Jubilate Deo.* Psalm. 66.

LLawen-floeddiwch i Dduw yr hôll ddaiar.

2 Dadcenwch ogoniant ei enw: gwnewch ei foliant yn ogoneddus.

3 Dywedwch wrth Dduw, mor ofnadwŷ wŷt yn dy weithredoedd! o herwŷdd maint dy nerth, y cymmer dy elynion arnŷnt fod yn ddarostyngedig i ti.

4 Yr hôll ddaiar a'th addolant di, ac a ganant i ti, ie canant i'th enw.

5 Deuwch, a gwelwch weithredoedd Duw: Ofnadwŷ ŷw yn ei weithred tuagat feibion dynion.

6 Trôdd efe y môr yn sych-dir; aethant drwŷ'r afon ar draed; yna y llawenychasom ynddo.

7 Efe a lywodraetha drwŷ ei gadernid bŷth, ei lygaid a edrychant ar y cenhedloedd; nag ymdderchafed y rhai anufudd.

8 Oh bobloedd, bendithiwch ein Duw: a pherwch glywed llais ei fawl ef.

9 Yr hwn sŷdd yn gosod ein henaid mewn bywŷd, ac ni âd i'n troed lithro.

10. Canys profaist ni, O Dduw; coethaist ni fel coethi arian.

11 Dygaist ni i'r rhwŷd, gosodaist wasgfa ar ein lwŷnau.

12 Peraist i ddynion farchogaeth am ein pennau ; aethom drwy'r tân, a'r dwfr, a thi a'n dygaist allan i lê diwall.

13 Deuaf i'th Dŷ âg offrymmau poeth, talaf it fy addunedau.

14 Y rhai a adroddodd fy ngwefusau, ag a ddywedodd fy ngeneu yn fy nghyfyngder.

15 Offrymmaf it' boeth offrymmau breision, ynghŷd âg arogl darth hyrddod: aberthaf ychen, a bychod.

16 Deuwch, gwrandewch, y rhai ôll a ofnwch Dduw: a mynegaf yr hŷn a wnaeth efe i'm henaid.

17 Llefais arno â'm genau, ac efe a dderchafwŷd a'm tafod.

18 Pe edrŷchaswn ar anwiredd yn fy nghalon ; ni wrandawsei'r Arglwŷdd.

19 Duw yn ddiau a glybu, ac a wrandawodd ar lais fy ngweddi.

20 Bendigedig fyddo Duw, yr hwn ni thrôdd fy ngweddi oddiwrtho, na'i drugaredd êf oddiwrthif finneu.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu, y mae ŷr awr hon, ac a bŷdd yn oestad yn oes oesoedd. Amen.

*Confitemini Domino.* Psalm. 107.

CLodforwch yr Arglwŷdd canŷs dâ ŷw: o herwŷdd ei drugaredd sŷdd yn dragywŷdd.

2 Fellu dyweded gwaredigion yr Arglwŷdd; y rhai a waredodd efe o law y gelŷn.

3 Ac a gasclodd efe o'r tiroedd, o'r dwŷrain, ac o'r gorllewin, o'r gogledd, ac o'r dehau.

4 Crwŷdrasant yn yr anialwch mewn ffordd ddi-sathr : heb gael dinas i aros ynddi.

5 Yn newŷnog ac yn sychedig: eu henaid a lewŷgodd ynddŷnt.

6 Yna y llefasant ar yr Arglwŷdd yn eu cyfyngder ac efe a'u gwaredodd o'u gorthrymderau.

7 Ac a'u tywŷsodd hwŷnt ar hŷd y ffordd uniawn, i fyned i ddinas gyfanneddol.

8 O na foliannent yr Arglwŷdd am ei ddaioni, a'i ryfeddodau i feibion dynion.

9 Canŷs efe a ddiwalla yr enaid sychedig ; ac a leinw yr enaid newŷnog â daioni.

10 Y rhai a bresswŷliant yn y tywŷllwch a chyscod angeu, yn rhwŷm mewn cystudd a haiarn.

11 O herwŷdd anufuddau o honŷnt eiriau Duw, a dirmygu cyngor y Goruchaf.

12 Am hynnŷ yntef a ostyngodd eu calonau â blinder : syrthiasant, ac nid oedd cynnorthwy-ŵr.

13 Yna y gwaeddasant ar yr Arglwŷdd yn eu cyfyngder: Efe a'u hachubodd o'u gorthrymderau.

14 Dug hwŷnt allan o dywŷllwch, a chyscod angeu : a drylliodd eu rhwŷmau hwŷnt.

15 O na foliannent yr Arglwŷdd am ei ddaioni, a'i ryfeddodau i feibion dynion.

16 Canŷs efe a dorrodd y pŷrth prês, ac a ddrylliodd y barrau heirn.

17 Yr Ynfydion oblegit eu camweddau, ac o herwŷdd eu hanwireddau a gystuddir.

18 Eu henaid a ffieiddieu bôb bwŷd: a ddaethant hŷd bŷrth angeu.

19 Yna y gwaeddasant ar yr Arglwŷdd yn eu cyfyngder : ac efe a'u hachubodd o'u gorthrymderau.

20 Anfonodd ei air, ac iachâodd hwŷnt, ac a'u gwaredodd o'u dinistr.

21 O na foliannent yr Arglwŷdd am ei ddaioni, a'i ryfeddodau i feibion dynion.

22 Aberthant hefŷd aberth moliant: mynegant

mynegant ei weithredoedd êf mewn
gorfoledd.
23 Y rhai a ddefcynnant mewn
llongau i'r môr, gan wneuthur eu gor-
chwŷl mewn dyfroedd mawrion.
24 Hwŷ a welant weithredoedd yr
Arglwŷdd, a'i ryfeddodau yn y dyfnder.
25 Canŷs efe a orchymmŷn, a chyfyd
tymheftl-wŷnt: yr hwn a dderchafa
ei donnau êf.
26 Hwŷ a efcynnant i'r nefoedd, def-
cynnant i'r dyfnder, tawdd eu henaid
gan flinder.
27 Ymdrôant, ac ymfymmudant fel
meddwun: a'u hôll ddoethineb a ballodd.
28 Yna y gwaeddant ar yr Arglwŷdd
yn eu cyfyngder, ac efe a'u dŵg allan
o'u gorthrymderau.
29 Efe a wna yr yftorm yn dawel a'i
tonnau a oftegant.
30 Yna y llawenhânt, am eu goft-
egu, ac efe a'u dŵg i'r porthladd a
ddymunent.
31 O na foliannent yr Arglwŷdd am
ei ddaioni, a'i ryfeddodau i feibion
dynion.
32 A derchafant êf ynghynnulleidfa
y bobl, moliannant êf yn eifteddfod yr
henuriaid.
33 Efe a wna afonŷdd yn ddiffaeth-
wch: a ffynhonnau dyfroedd yn fychdîr.
34 A thîr ffrwŷthlawn yn ddiffrwŷth:
am ddrygioni y rhai a drigant ynddo.
35 Efe a drŷ yr anialwch yn llŷn
dŵr: a'r Tîr crâs yn ffynhonnau dwfr.
36 Ac yno y gwna i'r newŷnog aros:
fel y darparont ddinas i gyfanneddu:
37 Ac yr hauont feufŷdd, ac y plan-
nont winllanoedd y rhai a ddygant
ffrwŷth toreithiog.
38 Ac efe a'u bendithia hwŷnt fel yr
amlhânt yn ddirfawr, ac ni âd i'w han-
ifeiliaid leihâu.
39 Lleihêir hwŷnt hefŷd, a goftyngir
hwŷnt gan gyfyngder, dryg-fŷd, a chyni.
40 Efe a dywallt ddirmŷg ar fonedd-
igion, ac a wnâ iddŷnt grwŷdro mewn
anialwch heb ffordd.
41 Ond efe a gyfyd y tlawd o gyftudd,
ac a wna iddo deuluoedd fel praidd.
42 Y rhai uniawn a welant hŷn, ac
a lawenychant: a phob anwiredd a gau
ei fafn.
43 Y neb fŷdd ddoeth ac a gadwo
hŷn, hwŷ a ddeallant drugareddau'r
Arglwŷdd.
Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mab, ac i'r
Yfprŷd glân.
Megis yr oedd yn y dechreu, y mae
yr awr hon, ac a bŷdd yn oeftad yn oes
oefoedd. Amen.

*Colectau o Ddiolch.*

O Dra-bendigedig, a gogoneddus Ar-
glwŷdd Dduw, yr hwn wyt o an-
feidrol ddaioni a thrugaredd, Nyni dy
Greaduriaid truein, y rhai a luniaift, ac
a gynhaliaift ti gan gadw yn fŷw ein
heneidiau, ac a'n gorefcynnaift yr awr
hon allan o fafn angeu, ŷm eilwaith yn
ein cyflwyno ein hunain o flaen dy
dduwiol fawredd, i offrymmu i ti aberth
o foliant a diolch, o herwydd i ti ein
gwrando pan yn ein blinder a galwafom
arnat, ac ni fwriaift ymaith ein gweddi
a wnaethom ger dy fron di yn ein caeth
gyfyngder, ie pan gyfrifem bob pêth
yn golledig, ein llong, ein dâ, ein bywŷd,
yna tydi a edrychaift yn drugarog ar-
nom, ac a orchymmynaift ymwared
rhyfeddol, am yr hon yr ym gwedi ein
gofod yr awr hon mewn diogelwch yn
rhoddi yr holl foliant a gogoniant i'th
Enw bendigedig, trwŷ Jefu Grîft ein
Harglwŷdd. *Amen.*

*Neu hon.*

O Alluogcaf Dduw, grafufol a dai-
onus, y mae dy drugaredd goruwch
dy holl weithredoedd, ond hi a eftynwŷd
allan

allan mewn mòdd hynod tuagattom ni, y rhai mor alluog ac mor rhyfeddol a amddiffynaist. Ti a ddangosaist i ni bethau ofnadwŷ, a rhyfeddodau yn y dyfnder, fel y gwelem pa Dduw galluog a grasol ydwyt ti; mor ddigonol a pharod i gymmorth y sawl a ymddiriedant ynot. Ti a ddangosaist y modd a mae y gwŷntoedd a'r moroedd yn ufuddhâu i'th orchymmŷn, fel y gallwn ddyscu, hŷd yn oed ganddynt hwŷ fod o hŷn allan yn ostyngedig i'th lais, a gwneuthur dy ewyllŷs. O herwŷdd pa ham nyni a fendigwn, ac a ogoneddwn dy Enw am y cyfrŷw dy drugaredd yn ein hachub, pan oeddem ar ddibyn cyfrgoll. Ac yr ŷm yn attolwg i ti, gwna ni yr awr hon mor wîr ystyriol o'th drugaredd, megis yr oeddem y prŷd hynnŷ o'r enbŷdrwŷdd. A dyro i ni galonnau parod bôb amser i ddatcan ein diolchgarwch, nid ar air yn unig, ond drwŷ ein buchedd hefŷd gan fôd yn ufuddach i'th orchymmynion bendigedig. Estŷn, attolwg dy ddaioni hŷn i ni, fel y bô i ni, y rhai a achubaist dy wasanaethu mewn sancteiddrwŷdd ac uniondeb, hôll ddyddiau ein bywŷd, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd a'n Iachawdr. *Amen.*

*Hymn o Fawl a Diolchgarwch ar ol Tymestl beryglus.*

DEuwch, clodforwn yr Arglwŷdd, canŷs da ŷw, a'i drugaredd a beru yn dragywŷdd.

Mawr, ŷw'r Arglwŷdd a thra moliannus; fellu dyweded gwaredigion yr Arglwŷdd, y rhai a waredodd efe o anwâr derfŷsg y Môr.

Graslawn a thrugarog ŷw'r Arglwŷdd; hwŷr-frydig i ddîg, a mawr ei drugaredd.

Nid yn ôl ein pechodau y gwnaeth efe â ni; ac nid yn ôl ein anwireddau a talodd efe i ni.

Canys cyfuwch ág ŷw'r nefoedd uwchlaw'r ddaiar y rhagorodd ei drugaredd ef tuagattom ni.

Ing a blinder a gawsom; daethom hŷd borth angeu.

Dyfroedd y Môr oeddŷnt ar hŷd trosom: Dyfroedd chwŷddedig oeddŷnt ar fyned tros ein Henaid.

Rhuodd y Môr, a'r tymhestl-wŷnt a dderchafodd ei donnau ef.

Ni a escynnasom megis i'r nefoedd, descŷnnasom eilwaith i'r dyfnder; Ein henaid a doddodd ynom gan flinder.

Yna y gwaeddasom arnat ti, O Arglwydd; titheu a'n dygaist allan o'n gorthrymder.

Bendigedig fyddo dy Enw, yr hwn ni ddirmygaist weddi dy weision; Ond gwrandewaist a'r ein llêf, ac achubaist ni.

Anfonaist allan dy Air, gostegodd y gwŷnt ystormus, ac hi aeth yn dawel.

O bydded i ninnau am hynnŷ foliannu yr Arglwŷdd am ei ddaioni, a mynegu y Rhyfeddodau a wnaeth, ac y mae yn wastad yn eu gwneuthur i feibion dynion.

Moliannus fyddo'r Arglwŷdd beunŷdd, sef, yr Arglwŷdd yr hwn sŷdd yn ein cymmorth, ac yn tywallt ei fendithion arnom.

Efe ŷw ein Duw ni, sef, y Duw oddiwrth yr hwn a daw iechŷdwriaeth; Duw ŷw yr Arglwŷdd, drwy yr hwn a diangasom rhag angeu.

Tydi, Arglwŷdd, a'n llawenychaist ni â gweithred dy ddwŷlo; ac ni a orfoleddwn yn dy foliant.

Bendigedig fyddo'r Arglwŷdd Dduw, sef yr Arglwŷdd Dduw, yr hwn yn unig sŷdd yn gwneuthur rhyfeddodau.

A bendigedig fyddo Enw ei Fawredd êf bŷth, a dyweded pôb un o honom, Amen, Amen.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac

i'r

i'r Yspryd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac a fydd yn oestad yn oes oesoedd. *Amen.*

2 *Cor.* 13. 14.

GRâs ein Harglwydd Jesu Grist, a Chariad Duw, a Chymdeithas yr Yspryd glan, a fyddo gyda ni oll byth bythoedd. *Amen.*

*Ar ôl Buddugoliaeth neu ymwared oddiwrth y Gelyn.*

*Psalm neu Hymn o Fawl a Diolchgarwch ar ôl Buddugoliaeth.*

ONi basai yr Arglwydd o'n plaid, gallwn ddywedyd yn awr, oni basei yr Arglwydd ei hun gyda ni, pan gyfododd dynion yn ein herbyn.

Hwy a'n llyngcasent ni yn fyw, pan ennynnodd eu llid hwynt i'n herbyn.

Ie, y dyfroedd a'n boddasent ni: y ffrwd a aethei tros ein henaid, dyfnddyfroedd y beilchion a aethent tros ein henaid.

Ond bendigedig fyddo'r Alglwydd, yr hwn ni'n rhoddodd ni yn ysclyfaeth iddynt.

Yr Arglwydd a wnaeth Iechydwriaeth nerthol i ni.

Nid, a'n cleddyf ein hun y gorescynnasom, nid ein braich ein hun, a barodd i ni iechydwriaeth, ond dy ddeheulaw di a'th fraich a llewyrch dy wyneb, o herwydd i ti ein hoffi ni.

Yr Arglwydd a ymddangosodd trosom ni: yr Arglwydd a orchguddiodd ein pennau ac a wnaeth i ni sefyll yn nydd y frwydr.

Yr Arglwydd a ymddangosodd trosom ni: yr Arglwydd a ddadymchwelodd ein gelynion, ac a ddrylliodd y rhai a godasant i'n herbyn.

O herwydd paham nid i ni, O Arglwydd, nid i ni: ond i'th Enw di rhodder y Gogoniant.

Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, yr Arglwydd a wnaeth bethau mawrion i ni: am yr hyn yr ydym yn llawen.

Ein porth ni fydd yn Enw'r Arglwydd, yr hwn a wnaeth nêf a daiar.

Bendigedig fyddo enw yr Arglwydd o'r pryd hyn hyd yn dragywydd.

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac a fydd yn oestad yn oes oesoedd. *Amen.*

¶ *Ar ôl yr Hymn ymma gellir canu y* Te Deum.

¶ *Yna y Colect hwn.*

OHôll-alluog Dduw, goruchel Lywiawdr yr holl fyd, yn llaw yr hwn y mae nerth a chadernid, na all neb sefyll i'w herbyn; Nyni a fendithiwn ac a fawrygwn dy Enw mawr a gogonaddus am y fuddugoliaeth lwyddianus hon: yr hôll ogoniant o honi a ddodwn i ti, yr hwn wyt unig Roddwr pôb goruchafiaeth. Ac nyni a attolygwn i ti, roddi i ni Râs i dderchafu dy fawr drugaredd hon i'th ogoniant di, i fawrhâd dy Efengyl, i anrhydedd ein goruchel Arglwydd Frenin, ac hyd y bo ynom i leshâd hôll ddynol ryw. Ac ni a attolygwn i ti, roddi i ni y cyfryw ystyried o'th fawr drugaredd hon, a'n rhwymo ni i wir ddiolchgarwch, yn ymddangos yn ein hôll fucheddau drwy ymwaredd-iad gostyngedig, sancteidd-lân, ac ufudd ger dy fron di tros ein hôll ddyddiau; trwy Jesu Grist ein Harglwydd: I'r hwn gyda thi a'r Yspryd glân megis am dy hôll Drugareddau, fellu yn enwedig am yr oruchafiaeth a'r ymwared presennol, y byddo'r holl ogoniant a'r anrhydedd hyd yn oes oesoedd. *Amen.*

2 *Cor.* 13. 14.

GRâs ein Harglwŷdd Jesu Grîst, a Chariad Duw, a Chymdeithas yr Yspryd glân, a fyddo gyda ni ôll bŷth bythoedd. *Amen.*

*Wrth gladdedigaeth eu meirw ar y Môr.*

¶ *GEllir arfer y gwasanaeth yn y llysr Gweddi Gyffredin : yn unig yn lle y geiriau hŷn* [ Gan hynnŷ yr ŷm ni yn rhoddi ei gorph êf i'r ddaiar, sef, Daiar i'r ddaiar, &c. ] *dyweder.*

Gan hynnŷ yr ym yn rhoddi ei gorph êf i'r Dyfnder, i ddychwelŷd i lygredigaeth, yn disgwil am adgyfodiad y Corph [ pan fwrio y môr ei feirw allan] a bywŷd y bŷd y sŷdd ar ddyfod, trwŷ ein Harglwŷdd Jesu Grîst, yr hwn ar ei Ddyfodiad a newidia ein Corph gwael ni, fel y byddo yn gyffelŷb i'w gorph gogoneddus êf, yn ôl y galluog weithrediad, trwŷ yr hwn y dichon efe ddarostwng pôb pêth iddo ei hun.

---

**Ffurf Gweddi gyda Diolch, i'w harfer bob blwyddyn ar y pummed dydd o Dachwedd, am ddedwyddol achubiad y Brenin, a thair stat y Deyrnas rhag y bradol a'r gwaedlyd fwrdwr, a amcanasid drwy bowdr gwnn.**

*Un sŷdd y Gwasanaeth ac a arferir ar ddyddiau gŵŷl yn hollawl, ond am a osoder isod yn amgenach.*

*Os ar y Sûl a digwŷdd, yn unig y Colect priodol i'r Sûl hwnnw a arddodir at y gwasanaeth ymma yn ei gysle.*

*Y Foreuol Weddi a ddechreu ag un o'r Sentensiau hŷn.*

CUddia dy wŷneb oddiwrth fy mhechodau O Arglwŷdd, a delêa fy hôll anwireddau.

Cospa fi Arglwŷdd, etto mewn barn nid yn dy lîd, rhag i ti fy ngwneuthur yn ddiddim.

Mi a godaf, ac a âf at fy nhâd; ac a ddywedaf wrtho, Fy nhâd, pechais yn erbŷn y nêf, ac o'th flaen ditheu; Ac mwŷach nid ydwŷf deilwng i'm galw yn fâb i ti.

*Psalmau Priod. Psalm.* 35. 64. 124. 129.

*Llithau Priod.* { *Y Gyntaf*, 2 *Sam.* 22. *Te Deum.* *Yr ail*, *Actau*, 23.

¶ *Yn y gwersiclau ar ôl y Credo yr anghwanegir, ac yr arferir y rhai hŷn tros y Brenin.*

*Offeiriad.* Arglwŷdd, cadw y Brenin.

*Pobl.* Yr hwn sŷdd yn ymddiried ynot.

*Offeiriad.* Anfon iddo borth o'th Sancteiddfa.

*Pobl.* Ac bŷth yn nerthol amddiffŷn êf.

*Offeiriad.* Na âd i'w Elynion gael y llaw uchaf arno.

*Pobl.* Na âd i'r enwir nessau iw ddrygu.

¶ *Yn lle y Colect cyntaf ar y Foreuol weddi yr arferir y ddau hŷn.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn ymhôb oes a ddangosaist dy nerth, a'th drugaredd yngwarediadau rhyfeddol a grasusol dy Eglwŷs, ac yn noddi cyfiawn a chrefyddol Frenhinoedd, a Statau yn proffessu dy sanctaidd, a'th dragywŷddol wirionedd ; rhag cyd-fwriadau drŵg, ac ystrywiau drygionus eu hôll Elynion ; Ni a roddwn i ti ein diffuant

ddiolch a moliant,am ryfeddol a galluog waredìad ein diweddar rasusaf Arglwŷdd Frenin Jago, y Frenhines, y Tywysog, a'r hôll frîg brenhinawl, gyda'r Dyledogion, yr Eglwŷs-wŷr, a chyffredin y deŷrnas hon ymgynnulledig, y prŷd hwnnw ym Mharliament, wedi eu barnu trwŷ ddichell y Pabyddion megis defaid i'r lladdfa, mewn mòdd creulon a nawsẁŷllt, tu hwŷnt i bôb esampl yn y cynoesoedd. Nid ein haeddiad ni, ond dy drugaredd di, nid ein rhagddarbod ni, ond dy ragluniaeth di a'n gwaredodd ni rhag yr annaturiol Gŷd-fwriad hwn: Ac am hynnŷ, nid i ni, O Arglwŷdd, nid i ni, ond i'th Enw di y rhodder yr hôll anrhydedd a'r Gogoniant yn hôll Eglwŷsi y Sainct o genhedlaeth i genhedlaeth, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

O Arglwŷdd, yr hwn heddŷw a ddatcuddiaist faglau angeu, a danesid i ni, ac yn rhyfeddol a'n gwaredaist oddiwrthŷnt, Bŷdd di yn wastad yn nodd-ŵr galluog i ni, a gwasgar ein gelynion a sychedant am waed, trô eu cynghorion yn ffolineb, a diddymma hwŷnt, gostwng eu balchder, tola eu drygioni, a gwradwŷdda eu bwrriadau: Nertha ddwŷlo ein grasusaf Frenin *Wiliam*, a phawb sy wedi eu gosod mewn awdurdod dano, i dorri ymaith trwŷ farn a chyfiawnder gymmaint ôll o weithredwŷr anwiredd, ag a droant Grefŷdd i wrthryfel, a ffŷdd i Dersŷsg, fel na chaffont bŷth y llaw uchaf arnom, ac na orfoleddont yn ninistr dy Eglwŷs yn ein plîth. Ond trwŷ fôd ein grasusaf Frenin a'i Deŷrnasoedd yn ymgynnal yn dy wîr Grefŷdd, a thrwŷ dy Radol Ddaioni yn cael eu noddi yn yr unrhŷw, allu o honom ni ôll dy wasanaethu di yn ddyledus, a rhoddi i ti ddiolch yn dy sancteiddlan gynnulleidfa, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

¶ *Ar ddiwedd y Litani* [*yr hwn a arferir yn wastad ar y dŷdd hwn* ] *ar ôl y Colect* [ *Ni a attolygwn i ti, &c.* ] *y dywedir hwn sŷdd yn canlŷn.*

HOll-alluog Dduw a nefol Dâd, yr hwn o'th rasol ragluniaeth, a'th dyner drugaredd tuagattom, a ragflaenaist falais a dychmygion ein gelynion, drwŷ ddatcuddio a gwradwŷddo eu bwriad erchŷll ac esceler, a gŷd-fwriadasent, ac a amcanasent ei ddwŷn i ben y dŷdd heddŷw, yn erbŷn y Brenin a hôll Stât y deŷrnas hon, er dymchweliad y Llyfodraeth a'r Grefŷdd a sefydlwŷd yn ein plîth; Nyni yn ostyngedigcaf ydŷm yn moliannu, ac yn mawrygu dy Enw gogoneddus am dy anfeidrol radlawn ddaioni hwn tuagattom. Yr ŷm yn cydnabod mai dy drugaredd di, dy drugaredd di yn unig ydoedd, na ddifethwŷd ni y prŷd hynnŷ. Canŷs yr oedd ein pechodau yn llefain hŷd y nêf i'n herbŷn, a'n hanwireddau yn deilwng yn galw am ddial arnom. Ond tydi ni wnaethost â ni yn ôl ein pechodau, ac ni obrwŷaist ni yn ôl ein hanwireddau, ac ni'n traddodaist ni, fel yr haeddasom, i fôd yn ysclyfaeth i'n gelynion: Ond yn dy drugaredd a'n gwaredaist ni rhag eu malais hwŷnt, ac a'n hachubaist rhag angeu a destrŷw. Trwŷ ystyried o honom dy Ddaioni hŷn, O Arglwŷdd, gweithreda ynom wîr edifeirwch, fel na bô ein hanwiredd yn dramgwŷdd i ni. Ac anghwanega ynom fwŷ-fwŷ ffŷdd fŷwiol, a chariad ffrwŷthlawn ymhôb ufudd-dod sanctaidd, fel y bô i ti gynnal dy ffafr [ ynghŷd a llewŷrch dy Efengŷl ] i ni ac i'n heppil yn dragywŷdd: A hynnŷ er mwŷn dy anwŷl Fab Jesu Grîst ein hunig Gyfryngwr a'n dadleuwr. *Amen.*

¶ *Yngwasanaeth y Cymmun yn lle Colect y Dŷdd yr arferir hwn sŷ'n canlyn.*

TRagywŷddol Dduw, a'n galluogcaf noddwr, yr ŷm ni dy weision annheilwng yn ostyngedig yn ein hymgyflwŷno ein hunain ger bron dy sawredd, gan gydnabod dy allu, dy ddoethineb a'th Ddaioni, yn cadw yn ddiangol y Brenin, a thair Stat y deŷrnas ymgynnulledig ym Mharliament, rhag y destrŷw a swriadasid heddyw iw herbŷn, gwna ni, ni a attolygwn i ti yn wîr ddiolchgar am dy fawr drugaredd hŷn tuagattom. Cadw ac amddiffyn ein goruchaf Arglwydd Frenin a'r holl welygordd frenhinawl rhag pôb Brâd a chŷdfwriad, Cynnal hwynt yn dy ffŷdd, ofn, a chariad; Llwŷdda ei Deyrnasiad â hîr ddedwŷddwch ymma ar y ddaiar, ac yn ôl hyn Corona êf â gogoniant tragywŷdd yn nheŷrnas nêf, trwŷ Iesu Grîst ein hunig Iachawdr a'n Prynwr. *Amen.*

*Yr Epistol* Rhuf. 13. 1.

YMddarostynged pôb enaid i'r awdurdodau goruchel, canŷs nid oes awdurdod onid oddiwrth Dduw: a'r awdurdodau sŷdd gan Dduw y maent wedi eu hordeinio. Am hynnŷ pwŷ bynnag sŷdd yn ymosod yn erbŷn yr awdurdod, sŷdd yn gwrthwŷnebu ordinhâd Duw: A'r rhai a wrthwŷnebant, a dderbŷniant farnedigaeth iddŷnt eu hunain. Canŷs Tywŷsogion nid ydŷnt ofn i weithredoedd dâ, ond i'r rhai drŵg. A fynni di nad ofnech yr awdurdod? gwna'r hŷn sŷdd ddâ, a thi a gai glôd ganddo. Canŷs gweinidog Duw ydŷw êf i ti er daioni: Ond os gwnei ddrŵg, ofna, canŷs nid ŷw efe yn dwŷn y cleddŷf yn ofer. Oblegid gweinidog Duw ŷw efe, dialudd llîd i'r hwn sŷdd yn gwneuthur drŵg. O herwŷdd pa ham, angenrhaid ŷw ymddarostwng, nid yn unic o herwŷdd llîd, ond o herwŷdd cydwŷbod hefŷd. Canys am hŷn yr ydŷch yn talu teynged hefyd, oblegid gwasanaethwŷr Duw ydŷnt hwŷ, yn gwilied ar hŷn ymma. Telwch gan hynnŷ i bawb eu dyledion, teyrnged i'r hwn y mae teyrnged yn ddyledus, toll i'r hwn y mae toll; ofn i'r hwn y mae ofn; parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus.

*Yr Efengyl.* S. *Matth.* 27. 1.

APhan ddaeth y boreu, cŷd-ymgynghorodd yr holl Arch-offeiriaid, a Henuriaid y bobl yn erbyn yr Iesu, fel y rhoddent êf i farwolaeth. Ac wedi iddŷnt ei rwymo, hwy a'i dygasant êf ymaith, ac a'i traddodasant êf i Pontius Pilat y rhaglaw. Yna pan welodd Judas, yr hwn a'i bradychodd êf, ddarfod ei gondemnio êf, bu edifar ganddo, ac a ddug drachefn y dêg ar hugain arian i'r Arch-offeiriaid, a'r Henuriaid, Gan ddywedŷd, Pechais, gan fradychu gwaed gwirion. Hwŷthau a ddywedasant, Pa bêth ŷw hynny i ni? edrŷch di. Ac wedi iddo daflu'r arian yn y Deml, efe a ymadawodd, ac a aeth, ac a ymgrogodd. A'r Arch-offeiriaid a gymmerasant yr arian, ac a ddywedasant, Nid cyfreithlawn i ni eu bwrw hwŷnt yn y drysorfa: Canŷs gwerth gwaed ydŷw. Ac wedi iddŷnt gyd-ymgynghori, hwŷ a brynasant â hwŷnt faes y crochenŷdd, yn gladdfa dieithriaid. Am hynnŷ y galwŷd y maes hwnnw, Maes y gwaed hŷd heddyw. Yna a cyflawnwŷd yr hŷn a ddywedwŷd trwŷ Jeremias y Prophwŷd, gan ddywedŷd, A hwŷ a gymmerasant y dêg ar hugain arian, prîs y prisiedig, yr hwn a brynnasant gan feibion Israel, ac a'u rhoesant hwŷ

âm faes y crochenŷdd, megis y gosododd yr Arglwŷdd i mi.

¶ *Ar ôl y Credo, oni bŷdd pregeth, y darllennir un o'r chwe Homiliau yn erbŷn gwrthryfel.*

¶ *Darllenir y sentens hon ar yr Offrymiad.*

PA bethau bynnag ôll a ewŷllysioch wneuthur o ddynion i chwi, fellu gwnewch chwithau iddŷnt hwŷ canŷs hŷn ŷw'r gyfraith a'r Prophwŷdi.

---

**Ffurf o Weddi gydag Ympryd, i'w harfer bob blwyddyn ar y Degfed ar hugain** o *Jonawr*, sêf, Dŷdd Merthŷrolaeth Brenin *Charles* y Cyntaf: I erfŷn trugaredd Duw, na byddo nag i Euogrwŷdd y Gwaed gwirion diniwed hwnnw, na'r Pechodau eraill, trwŷ ba rai y Cyffroed Duw i'n traddodi ni a'n Brenin i ddwŷlo Dynion Creulon ac Ysceler, gael eu Hymweled ar amser yn y Bŷd, rhag llaw arnom ni na'n Heppil.

¶ *Os ar y Sûl y digwŷdd y dŷdd hwn, y ffurf hon o Weddi a arferir, a'r Ympryd a gedwir dranoeth. Ac ar ddŷdd yr Arglwŷdd nessaf o flaen y dŷdd iw gadw, ar y Foreuol Weddi, yn y man ar ôl Credo* Nicene, *y rhybuddir am gadw yn barchus yr unrhŷw ddŷdd.*

¶ *Y Gwasanaeth ar y dŷdd sŷdd, yr un ag a arferir ar ddyddiau gŵŷl yn hollawl, ond fel a gosodir yn y Gwasanaeth hwn yn amgenach.*

---

## TREFN AM WEDDI FOREUOL.

¶ *Y Gweinidog a ddechreu ag un neu ychwaneg o'r Sentensiau hŷn.*

GAn yr Arglwŷdd ein Duw y mae trugareddau, a maddeuant er gwrthryfelu o honom i'w erbŷn; Ni wrandawsom chwaith ar lais yr Arglwŷdd ein Duw, i rodio yn ei gyfreithiau êf; y rhai a roddodd efe o'n blaen ni. *Dan.* 9. 9, 10.

Cospa ni Arglwŷdd, etto mewn barn, nid yn dy lîd rhag it ein gwneuthur yn ddiddim. *Jeremi.* 10. 24.

Na ddôs i farn a'th wâs; o herwŷdd ni chyfiawnhêir nêb bŷw yn dy olwg di. *Psalm.* 143. 2.

¶ *Yn lle* Venite exultemus, *dyweder neu ganer yr Hŷmn sŷdd yn canlŷn, un wers gan yr Offeiriad, a phôb ail gan y Clôchŷdd a'r bobl.*

CYfiawn ydwŷt ti O Arglwŷdd: ac uniawn ŷw dy farnedigaethau. *Psalm.* 119. 137.

*Titheu ydwŷt gyfiawn, O Arglwŷdd, yn yr hŷn ôll a ddigwŷddodd i ni: Canŷs gwirionedd a wnaethost di, a ninnau a wnaethom yn annuwiol.* Nehemia 9. 33.

Minneu, braidd na lithrodd fy nhraed, prin na thrippiodd fy ngherddediad. *Psalm.* 73. 2.

*Canŷs cenfigennais wrth y rhai ynfŷd, pan welais lwŷddiant y rhai annuwiol.* Psal 73. 3.

Y mae Brenhinoedd y ddaiar yn ymosod, a'r Penaethiaid yn ymgynghori ynghŷd: yn erbŷn yr Arglwŷdd, ac yn erbŷn ei Grîst êf. *Psalm.* 2. 2.

*Canŷs ymgynghorasant yn un-frŷd, ac ymwnaethant i'w erbŷn.* Psalm. 83. 5.

Efe a glywodd ogan llaweroedd, dychrŷn oedd o bôb parth; pan gŷdymgynghorasant yn ei erbŷn êf, y bwriedasant ei ddi-eneidio. *Psalm.* 31. 15.

*A thafodau celwŷddog y llefarasant i'm erbŷn, cylchŷnasant êf hefŷd â geiriau câs, ac ymladdasant ag êf heb achos.* Psal. 109. 2.

Ie hefŷd y gwŷr oedd anwŷl ganddo êf, ŷn y rhai yr ymddiriedodd, Ac

a fwŷdtaodd ei ſara, a dderchafodd ei ſodl i'w erbŷn. *Pſalm.* 41. 9.

*Talaſant iddo êf ddrŵg am ddâ: i yſpeilio ei enaid.* Pſalm. 35. 12.

Ymgynghoraſant yn unfrŷd, gan ddywedŷd, Duw a'i gwrthododd êf, erlidiwch a deliwch êf: canŷs nid oes gwaredŷdd. *Pſalm.* 71. 9.

*Anadl ein ffroenau, Eneiniog yr Arglwŷdd a ddaliwŷd yn eu rhwŷdau hwŷnt; am yr hwn a dywedaſem tan ei gyſgod êf y byddwn ni bŷw.* Galarnad. 4. 20.

Y gwrthwŷnebwr a'r gelŷn a ddaethant i bŷrth Caerſelem: gan ddywedŷd; pa brŷd y bŷdd efe farw, ac a derfŷdd am ei Enw êf. *adn.* 12. *Pſalm.* 41. 5.

*Aflwŷdd meddant a lŷn wrtho: a chan ei fôd yn gorwedd, na chyfoded mwŷ.* pſ. 41. 8.

Tyſtion gau a gyfodaſant, holaſant iddo êf yr hŷn ni's gwŷddai oddiwrtho. *Pſalm* 35. 11.

*Am bechodau eu Prophwŷdi, ac anwiredd eu Hoffeiriaid, y tywalltaſant waed y cyfiawn ynghanol Caerſelem.* Galarn. 4. 13.

Na ddeled fy enaid i'w cyfrinach hwŷnt; fy ngogoniant, na fŷdd un o'u cynnulleidfa hwŷnt: canŷs yn eu dîg y lladdaſant wŷr. *Geneſis.* 49. 6.

*Sêf, Gŵr dy ddeheulaw, Mâb y dŷn yr hwn a gadarnhaiſt i ti dy hun.* Pſal. 80. 17.

Yngolwg y rhai angall yr oedd efe yn marw: a drŵg y cyfrifent ei ddiwedd êf. *Doethin.* 3. 2.

*Y nhw ffyliaid a feddyliaſant fôd ei fuchedd ef yn ynfydrwŷdd, a'i ddiwedd yn ammharchus; ond y mae êf mwn tangneddŷf.* Doethineb. 5. 4. 3. 3.

O blegid er ei gyſtuddio yngolwng dynion: etto'r oedd ei obaith yn llawn tragywŷddoldeb. *Doethineb.* 3. 4.

*Pa fôdd y cyfrifir êf ymhlith Meibion Duw, ac mae ei ran êf ymŷſg y Sainct.* Doethineb. 5. 5.

Ond, O Arglwŷdd Dduw'r dial, O Dduw'r dial, gwna ddaioni yn dy ewŷllŷſgarwch i Seion. *pſal.* 94. 1. & 51. 18.

*Bŷdd drugarog O Arglwŷdd wrth dy bobl y rhai a brynaiſt, ac na ddyro euogrwŷdd gwaed gwirion yn ein herbŷn.* Deuter. 21. 8.

Oh! na chaſgl ein heneidiau gyda phechaduriaid; na'n bywŷd gyda dynnion gwaedlŷd. *pſal.* 26. 9.

*Gwared ni oddiwrth waed, O Dduw, tydi yr hwn wŷt Dduw yr Iechŷdwriaeth: a'n tafod a gân yn llafar am dy gyfiawnder.* Pſalm. 51. 14.

O herwŷdd nid wŷt ti Dduw yn ewŷllyſio anwiredd, a drŵg ni thrîg gyda thi. *pſalm.* 5. 4.

*Difethi y rhai a ddywedant gelwŷdd, yr Arglwŷdd a ffieiddia y gŵr gwaedlŷd a'r twŷllodrus.* Pſalm 5. 6.

Mor ddiſymmwth yr aethant yn anghyfannedd: Pallaſant a darfuant gan ofn. *pſalm.* 73. 19.

*Fel breuddwŷd wrth ddyhuno un: Fellu O Arglwŷdd pan ddeffroech y dirmygi eu gwêld hwŷnt o'r ddinas.* pſalm 73. 20.

Mawr a rhyfedd ŷw dy weithredoedd O Arglwŷdd Dduw Holl-alluog: cyfiawn a chywir ŷw dy ffŷrdd di Brenin y Sainct! *Apoc.* 15 3.

*Cyfiawn ydwŷt ti O Arglwŷdd, ag uniawn ŷw dy farnedigaethau.* pſal. 119. 137.

Gogoniant i'r Tâd, *&c.*

*Megis yr oedd yn y dechreu,* &c.

¶ Pſalmau Priod. 9, 10, 11.

Llithau Priod. { *Y gyntaf,* 2 Samuel 1.
*Yr ail,* S. Matthew 27.

¶ *Yn lle y Colect cyntaf ar y Foreuol Weddi yr arferir y ddau hŷn ſŷdd yn canlŷn.*

O Alluogcaf Dduw, ofnadwŷ yn dy farnadigaethau, a rhyfeddol yn dy weithredoedd tuagat feibion dynion, yr hwn yn dy dôſt ddigllonedd a oddefaiſt megis ar y dŷdd heddŷw dorri ymaith

fywŷd

ſŷwŷd ein diweddar raſol Arglwŷdd Frenin *Charles* y *Cyntaf*, trwŷ ddwŷlo dynion yſceler a gwaedlŷd; Nyni dy greaduriaid truain, ymgynnulledig yma ger dy fron, ydŷm ( yn enw holl drigolion y deŷrnas ymma ) yn oſtyngedig yn cyfaddef, mae pechodau mawr-waedd y genedl ymma oeddŷnt, yr achos o ddwŷn i lawr y farnedigaeth drom hon arnom. Ond O Dduw graſuſol, pan ymofynnech am waed, na ddyro euogrwŷdd y gwaed gwirion hwn [ tywalltiad pa un nid oes dim ond gwaed dy Fâb di a all ei ddywŷgio ] na ddyro mono at gyfrif pobl y tîr hwn, ac na ofynner êf bŷth gennŷm ni na'n heppil: Trugarhâ, O Arglwŷdd, trugarhâ wrth dy Bobl y rhai a brynnaiſt, ac na lidia wrthŷm yn dragywŷdd: Ond maddeu i ni er mwŷn dy drugareddau, trwŷ ryglŷddon dy Fâb ein Harglwŷdd Jeſu Grîſt. *Amen.*

BEndigedig Arglwŷdd, yngolwg yr hwn gwerthfawr ŷw marwolaeth dy Sainctiau, Ni a fawrygwn dy Enw am y grâs helaeth hwnnw a roddaiſt i'n diweddar Arglwŷdd Frenin a ferthyrwŷd; Trwŷ'r hwn y nerthwŷd ef mor gyſſurus i ddilŷn camrau ei wŷnfŷdedig Feiſtr a'i Iachawdwr, mewn diyſgog ac addfwŷn oddefiad, o bôb amharchiadau creulon, ac yn y diwedd yn gwrthwŷnebu hŷd at waed; A'r prŷd hynnŷ hefŷd ar ôl yr un eſampl, yn eirioli tros ei ddihenŷdd-wŷr: Bydded ei goffadwriaeth êf, O Arglwŷdd, bŷth yn fendigedig yn ein plîth; Fel y gallom ninnau ddilŷn eſampl ei wrolder a'i ddianwadalwch, ei oſtyngeiddrwŷdd a'i ammynedd, a'i fawr gariad êf: A chaniadha i'n gwlâd hon fôd yn rhŷdd oddiwrth ddial am ei waed cyfiawn êf, a'th drugaredd gael ei ogoneddu ym maddeuant ein pechodau: A'r cwbl er mwŷn Jeſu Grîſt, ein hunig Cyfryngwr a'n Dadleuwr. *Amen.*

¶ *Ar ddiwedd y Litany* [ *yr hwn a arferir yn oeſtad ar y dŷdd hwn* ] *ar ôl y Colect* [ Ni a attolygwn i ti ô Dad, &c. ] *y darllennir y tri Colectau hŷn.*

O Arglwŷdd, ni a attolygwn i ti, yn drugarog gwrando ein gweddiau, ac arbed bawb a gyffeſſant eu pechodau wrthŷt, fel y bo i'r rhai a cyhuddir eu cydwŷbodau gan Bechod, trwŷ dy drugarog faddeuant, fôd yn ollyngedig, trwŷ Grîſt ein Hargwŷdd. *Amen.*

O Alluogcaf Dduw, a thrugarogcaf Dâd, yr hwn wŷt yn toſturio wrth bob dŷn, ag nid wŷt yn caſau dim ar a wnaethoſt; yr hwn nid ewŷllyſi farwolaeth pechadur, ond bŷw o hono, ac ymchwelŷd oddiwrth bechod a bôd yn gadwedig: Yn drugarog Maddeu ein camweddau, derbŷn a chonfforddia ni, y rhai ydŷm yn flin ac yn orthrwm gennŷm faich ein pechodau: Ti bia o briodolder drugarhau, i ti yn unig a perthŷn maddeu pechodau; Arbed nyni am hynnŷ Arglwŷdd daionus. Arbed dy Bobl y rhai a brynnaiſt; Na ddŵg dy weiſion i'r farn, y rhai ŷnt brîdd gwael a phechaduriaid truein: Ond ymchwel felly dy lîd oddiwrthŷm, y rhai ŷm yn oſtyngedig yn cydnabod ein gwaeledd, ac yn wîr Edifeiriol gennŷm ein beiau; felly bryſſia i'n cynnorthwŷo ni yn y Bŷd hwn, fel y gallom bŷth fŷw gyda thi yn y bŷd a ddaw, trwŷ Jeſu Grîſt ein Harglwŷdd. *Amen.*

YMchwel di ni, O Arglwŷdd daionus, ac yna yr ymchwelir ni. Yſtyria, O Arglwŷdd, yſtyria wrth dy Bobl y rhai ſŷdd yn ymchwelŷd [illegible] trwŷ wŷlofain, ymprydio, a gweddio. Canys Duw trugarog wŷt ti, yn llawn toſturi, yn

yn dda dy Amynedd, ac yn fawr dy warder. Yr wyt yn arbed pan ŷm ni yn haeddu poenau, ac yn dy lid yr wyt yn meddwl am drugaredd. Arbed dy Bobl, Arglwydd daionus, Arbed hwy ac na ddyger dy Etifeddiaeth i wradwydd. Clyw nyni, Arglwydd, canys mawr yw dy drugaredd ac yn ôl lliaws dy drugaredd adrych arnom, trwy haeddedigaethau a chyfryngiad dy fandigedig Fab Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

¶ *Yngwasanaeth y Cymmun nessaf ar ôl y weddi tros y Brenin* [ Holl-alluog Duw, yr hwn sydd a'i deyrnas yn dragywyddol ] *yn lle'r Colect am y dydd yr arferir y ddau Golect ymma.*

| | |
|---|---|
| O Alluogcaf Dduw ofnadwy, *&c.* | *Fel yn y gweddiau Boreuol.* |
| Bendigedig Arglwydd, *&c.* | |

*Yr Epistol.* 1 S. *Peter.* 2. 13.

Ymddarostyngwch oblegid hyn i bôb dynol ordinhâd o herwydd yr Arglwydd; Pa un bynnag ai i'r Brenin megis Goruchaf; ai i'r Llywiawdwyr, megis trwyddo êf wedi eu danfon, er Dial ar y drwg-weithredwyr, a mawl i'r gweithredwyr dâ: Canys fellu mae ewyllys Duw, fod i chwi trwy wneuthur daioni ostegu Anwybodaeth dynion ffolion: megis yn rhyddion, ac nid a rhydd-did gennych megis Cochl malais, ond fel gwasanaethwyr Duw. Perchwch bawb. Cerwch y Brawdoiaeth: Ofnwch Dduw. Anrhydeddwch y Brenin, Y gweision, byddwch ddarostyngedig gyda phôb ofn i'ch meistred, nid yn unig i'r rhai dâ a chyweithas, ond i'r rhai Anghyweithas hefyd, Canys hyn sydd rasol, os yw nêb o herwydd Cydwybod i Dduw yn dwyn tristwch, gan ddioddef ar gam. Oblegid pa glôd yw, os pan bechoch a chael eich cernodio, y Byddwch ddâ eich Amynedd? Ond os a chwi yn gwneuthur yn ddâ; ag yn dioddef, y byddych ddâ eich Amynedd; Hyn sydd rasol ger bron Duw. Canys i hyn i'ch galwyd hefyd, oblegid Crist ynteu a ddioddefodd drosom ni, gan adel i ni esampl fel y canlynem ei ôl êf; Yr hwn ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei eneu.

*Yr Efengyl.* S. Matthew. 21. 33.

Yr oedd rhyw ddyn o berchen ty, yr hwn a blannodd winllan, ac a osododd gae yn ei chylch hi, ac a gloddiodd ynddi winwryf, ac a Adeiladodd dwr, ac a'i gosododd hi allan i lafurwyr, ac a aeth oddicartref. A phan nessaodd amser ffrwythau, efe a ddanfonodd ei weision at y Llafurwyr i dderbyn ei Ffrwythau hi. A'r Llafurwyr a ddaliasant ei weision êf, ac un a gurasant, ac arall a laddasant, ac arall a labuddiasant. A thrachefn efe a Anfonodd weision eraill fwy na'r rhai cyntaf: A hwy a wnaethont iddynt yr un môdd. Ac yn ddiweddaf ôll, fe a ddanfonodd attynt ei Fâb ei hun, gan ddywedyd, hwy a barchant fy Mâb i: A phan welodd y Llafurwyr y Mâb, hwy a ddywedasant yn eu plith eu hun hwn yw'r Etifedd, Deuwch, lladdwn êf, a daliwn ei Etifeddiaeth êf, ac wedi iddynt ei ddal, hwy a'i bwrriasant êf allan o'r winllan ac a'i Lladdasant. Am hynny pan ddêl Arglwydd y winllan, pa bêth a wna efe i'r llafurwyr hynny; hwy a ddywedasant wrtho, efe a ddifetha yn llwyr y dynion drwg hynny, ac a esyd y winllan i lafurwyr eraill, y rhai a dalant iddo y ffrwythau yn eu hamserau.

¶ *Ar ôl Credo* Nicene *y darllennir yn nifyg pregeth i'r diwrnod hwnnw, y rhannau cyntaf a'r ail o'r* Homili *a osodwyd allan trwy awdurdod, yn erbyn Anufudd-dod a gwrthryfel.*

¶ *Neu pregethed y Gweinidog, yr hwn a*

*fo'n*

*fo'n gwasanaethu, Bregeth o'i wneuthuriad eu hun ar yr unrhyw destyn.*

¶ *Yn yr offrymmiad a darllennir y Sentens ymma.*

PA bethau bynnag ôll a ewyllysioch chwi wneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy, canys hyn yw'r gyfraith a'r Prophwydi. S. *Matthew.* 7. 12.

¶ *Ar ôl y weddi ( Tros hôll stât Eglwys Crist,* &c. ) *yr arferir y ddau Golect ymma sydd yn canlyn.*

O Arglwydd ein Tâd Nefawl yr hwn nid wyt yn ein cospi ni, hyd yr haeddei ein pechodau, ond ynghanol barn a gofiaist drugaredd; Yr ydym ni yn cydnabod mae dy ragorawl ffafr di ydoedd, er i ti am ein haml a'n dirfawr annogaethau oddef i'th Eneiniog y Bendigedig Frenin *Charles* y Cyntaf, syrthio [ megis ] ar y dydd heddyw i ddwylo dynion ysceler a Gwaedlyd; Ac ar fôdd creulon ei lâdd ef ganddynt; Etto ni'n gadewaist ni tros fyth, megis defaid heb fugail iddynt; Ond yn dy rasol ragluniaeth a gedwaist yn rhyfedd ddilys etifedd ei Goron êf, ein Grasusaf Arglwydd Frenin y prŷd hynny *Charles* yr ail, rhag ei elynion gwaedlyd, gan ei guddio êf dan gysgod dy Adenydd, hydonid aeth eu camrwysg hwynt heibio; Ac yno a'i dygaist yn ei ôl yn dy amser daionus gosodedig, i Eistedd mewn heddwch ar orseddfaingc ei Dâd, A chyda'r Brenhinol Deulu i Arglwyddiaethu arnom ni[y naill yn ôl y llall]drwy y cyfryw oruchel Awdurdod yr hwn o'th ragorawl râs a ordeiniaist di iddynt: Am y rhai hyn dy fawr Anrhaethadwy drugareddau, ni a dalwn i ti ein Gostyngeiddiaf ddiolch o eigion ein calonnau: Gan attolygu i ti yn oestad barhâu dy rasol nodded tros yr hôll frenhinawl deulu, a chaniadtau i'n Grasusaf Bennaeth, y Brenin *Wliam*, hîr, a llwyddiannus Deyrnasiad arnom ni. A ninnau dy bobl a'th foliannwn yn dragywydd, ac a ddatcanwn dy foliant o Genhedlaeth i Genhedlaeth byth, trwy Jesu Grist ein Harglwydd a'n Iachawdwr. *Amen.*

A Chaniadâ, Arglwydd, ni attolygwn i ti, fôd i chwyl y Byd hwn, trwy dy reoledigaeth di, gael ei drefnu mor dangneddyfol, ag a gallo dy Egwys di dy wasanaethu yn llawen ymhôb duwiol Heddwch, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

---

## Y Drefn am Brydnhawnol Weddi.

¶ *Yr Hymn a appwyntied i'w harfer ar y Foreuol weddi yn lle* ) Venite Exultemus ) *a arferir ymma hefyd o flaen y Psalmau Priod.*

Cyfiawn ydwyt ti O Arglwydd, &c.

*Psalmau priod,* 79. 94. 85.

*Llithiau priod.* { *Y gyntaf, Jer.* 12. *neu Dan.* 9. *hyd at wer.* 22. *Yr ail Heb.* 11. 32. *a'r* 12. *hyd wer.* 7. }

¶ *Yn lle'r Colect Cyntaf ar y Brydnhawnol weddi, yr arferir y ddau ymma sydd nessa yn canlyn.*

O Fendigedig Arglwydd Dduw, yr hwn trwy dy ddoethineb wyt nid yn unig yn cyfeirio, ac yn trefnu pôb pêth yn gysson i'th iawnder dy hun; Ond wyt hefyd yn cyflawni dy ewyllys yn y cyfryw fôdd, na's gallwn ni na chydnabyddom dy fôd gyfiawn yn dy hôll ffyrdd, a sanctaidd yn dy hôll

weith-

weithredoedd: Nyni dy bobl pechadurus ydŷm yn syrthio i lawr ger dy fron di, gan gyffessu, mae cyfiawn oedd dy farnedigaethau, yn goddef i ddynion creulon, meibion y Fall, y dŷdd hwn, drochi eu dwŷlo yngwaed dy Eneiniog; o herwŷdd ein bôd ni wedi tynnu yr unrhŷw arnom ein hunain trwŷ ddirfawr, a hîrbarhaus gyffroiadau ein pechodau i'th erbŷn: Am ba rai gan hynnŷ, yr ŷm ni ymma yn ein darostwng ein hunain ger dy fron; dan erfŷn dy drugaredd er maddeuant am danŷnt ôll, ac i ti waredu y Genhedl hon oddiwrth waed, (yn enwedig hwnnw a dywalltwŷd y dŷdd heddŷw) Ac ymchwel oddiwrthŷm ni a'n heppil yr hôll farnedigaethau hynnŷ a haeddasom o herwŷdd ein pechodau; Caniadha hŷn er mwŷn cwbl-ddigonol haeddedigaeth dy Fâb a'n Hiachawdwr Jesu Grîst. *Amen.*

O Dduw Bendigedig, cyfiawn a galluog, yr hwn a oddefaist ar gyfen i heddŷw, roddi i fynu dy Anwŷl wasanaethwr, ein diweddar Oruchaf Frenin *Charles* y Cyntaf, i afreolus gynddeiriogrwŷdd dynion Enwir, ŷw amherchi a'i ddrygu, ac o'r diwedd i'w lâdd ganddŷnt: Er nad allwn synied ar weithred mor ffiaidd, heb ddychrŷn a syndod, etto yr ŷm yn ddiolchgar yn coffau rhagoriaethau dy râs, yn discleirio y prŷd hynnŷ yn dy Eneiniog: yr hwn y bu wiw gennit, ei gynyscaeddu hŷd yn awr angeu, a mesur rhagorawl o Amynedd hynod, Addfwŷnder, a chariad perffaith, o flaen wŷneb ei elynion erchŷll: Ac er godde o honot iddŷnt fyned rhagddŷnt i'r cyfrŷw râdd o drais i'w erbŷn, ac i'w lâdd êf, a meddiannu ei Orseddfaingc; Etto yn dy fawr drugaredd, ti a gedwaist ei fâb êf, eiddo'r hwn o gyfiawnder ydoedd hi, ac o'r diwedd trwŷ ryfeddol ragluniaeth, a'i dygaist yn ei ôl, ac a'i gosodaist arni, i Adferu dy wîr Grefŷdd, ac i sefydlu Heddwch yn ein plîth: Am hynnŷ nyni a ogoneddwn dy Enw, trwŷ Jesu Grîst ein Bendigedig Iachawdr. *Amen.*

¶ *Yn nessa ar ôl y Colect* [ Goleua ein tywŷllwch, *&c.* ] *yr arferir y tri Colect hŷn sŷdd yn canlŷn.*

O Arglwŷdd ni attolygwn i ti, &c.
O Alluogcaf Dduw, a thrugarogcaf Dâd, &c.
Ymchwel di ni Arglwŷdd daionus.
} *fel o'r blaen yn y Foreuol Weddi.*

¶ *Yn nessaf o flaen gweddi St.* Crysostom *yr arferir y Colect ymma sŷdd nessaf yn canlŷn.*

HOll-alluog a thragywŷddol Dduw, yr hwn y mae ei gyfiawnder fel y mynyddoedd cedyrn, a'i farnedigaethau fel y dyfnder mawr; A'r hwn trwŷ y ddybrŷd lofruddiaeth, yr hwn a wnaethwŷd heddŷw ar Berson Cyssegredig dy Eneiniog, a ddyscaist i ni nad ŷw y pennaf o Frenhinoedd, na'r goreu o ddynion yn ddiogelach rhag trais, mwŷ na marwolaeth naturiol; Dŷsg i ninnau ar hŷn o achos fellu i gyfrif ein dyddiau, fel y dygom ein calonnau i ddoethineb. A chaniadhâ na all na godidawgrwŷdd dim ar sŷdd fawr, na brî ar ddim sŷdd ddâ ynom, mewn môdd yn y bŷd, dynnu ein golwg oddiar edrŷch arnom ein hunain megis llŵch a lludw pechadurus: Ond fel y bô i ni (yn ôl esampl dy fendigaid Ferthŷr hwn) gyrchu at y nôd, am gamp uchel yr alwedigaeth sŷdd o'n blaen ni, trwŷ ffŷdd ac amynedd, gostyngeiddrwŷdd ac addfwŷnder, marweiddiad, ac ymwrthodiad a ni ein hunain, cariad perffaith, a diyscog barhau hŷd y diwedd; A hŷn ôll er mwŷn dy fâb ein Harglwŷdd Jesu Grîst, i'r hwn gyda thydi a'r Ysprŷd glân, y bô hôll anrhydedd a gogoniant yn oes oesoedd. *Amen.*

**Ffurf Gweddi gyda Diolch i'r Holl-alluog Dduw, am iddo ostegu y Gwrthryfel** Echryslon, trwŷ Edfrŷd y Brenin a'r Brenhinol Deulu; A thrwŷ adsefydlu y Llywodraeth ar ôl hîr flynyddoedd o Rwŷstr: Yr annrhaethawl Drugareddau rheini a gyflawnwŷd ar y Nawfed ar hugain o *Fai*, yn y flwŷddŷn 1660. Ac er y Coffadwriaeth ymma, y pennodwŷd y Dŷdd hwnnw drwŷ Act o Barliament i'w gadw bôb blwŷddŷn yn Wŷl dros bŷth.

¶ *Yr Act o Barliament a wnaethbwŷd yn y Ddeuddegfed, ac a siccrhawŷd yn y Drydedd flwŷddŷn ar ddêg o Deŷrnasiad* Charles *yr Ail, er cadw bôb blwŷddŷn y Nawfed dŷdd ar hugain o* Fai, *megis Dŷdd o gyhoeddedig Ddiolch, sŷdd i'w ddarllen yn gyffredinol ymhôb Eglwŷs ar y Foreuol weddi, yn nessaf pêth ar ôl* Credo Nicene, *ar Ddŷdd yr Arglwŷdd nessaf o flaen pôb cyfrŷw Nawfed ar hugain o* Fai, *a bôd yn rhaid rhag-rybuddio, o gadw y rhag-ddywededig Ddiwrnod yn barchedig.*

¶ *Gan fôd y Gwasanaeth a arferwŷd hŷd yn hŷn ar y Dŷdd hwn, er pan sefydlwŷd êf drwŷ Act o Barliament, yn perthynu mewn llawer o fannau i Anedigaeth a Pherson y Brenin* Charles *yr Ail; Fe welwŷd yn ddâ, yn awr ar ddigwŷddiad ei Farwolaeth êf, i'w newidio megis ac a mae yn canlŷn.*

¶ *Y Gwasanaeth a fŷdd yr un ag a arferir ar Ddyddiau Gwŷlion eraill yn hollawl; Ond am a osodir isod yn amgenach.*

¶ *O's digwŷdd y Dŷdd hwn ar* Dŷdd Iou y Derchafael, *neu'r* Sul-gwŷn, *y Colectau yn unig o'r Gwasanaeth hwn a ddodir at bôb Gwasanaeth ar y Gwŷliau hynnŷ, yn eu cylchau arferol; Os digwŷdd ar* Ddŷdd Llun *neu* Ddŷdd Mawrth *yn wŷthnos y* Sul-gwŷn, *neu ar* Sûl y Drindod, *y Psalmau Priod a osodwŷd ymma am y Dŷdd hwn, a arferir yn lle y rhai o gŷlch cyffredinol, â'r Colectau hefŷd a angwanegir megis uchod; Ac ar bôb un o'r achosion ymma gadawer heibio y rhan arall o'r Gwasanaeth hwn: Ond os digwŷdd êf ar un Sul arall, arferir yr hôll Wasanaeth hwn yn hollawl, fel a gosodir isod. A pha wŷl bynnag a ddigwŷdd syrthio ar y Dŷdd Uchel-wŷl hwn o Ddiolch, arferir yr Hŷmn sŷ'n canlŷn yn bwŷntiedig, yn lle* Venite, exultemus *yn oestadol.*

## Trefn am Foreuol weddi.

¶ *Dechreuer y Foreuol Weddi â'r Ymadroddion hŷn.*

GAn yr Arglwŷdd ein Duw y mae Trugareddau a maddeuant, er gwrthryfelu o honom i'w erbŷn; Ni wrandawsom ychwaith ar lais yr Arglwŷdd ein Duw, i rodio yn ei gyfreithiau êf, y rhai a roddodd efe o'n blaen ni. *Daniel.* 9. 9, 10.

Trugareddau ŷr Arglwŷdd ŷw, na ddarfu am danom ni: o herwŷdd ni phalla ei dosturiaethau êf. *Galarn.* 3. 22.

¶ *Yn lle y* Venite exultemus, *dyweder neu ganer yr Hŷmn sŷdd yn canlŷn; Un Wers gan yr Offeiriad, a phôb ail gan y Clochŷdd a'r Bobl.*

TRugareddau'r Arglwŷdd a ddatcanaf bŷth: a'm geneu y mynegaf dy wirionedd o genhedlaeth i genhedlaeth. *Psalm.* 89. 1.

*Gwnaeth yr Arglwŷdd gofio ei ryfeddodau: Graslawn a thrugarog ŷw'r Arglwŷdd. Psalm.* 111. 4.

Pwŷ a draetha nerthoedd yr Arglwŷdd; ac a fynega ei fawl êf? Mawr

ŷw

ŷw gweithredoedd yr Arglwŷdd: gwedi eu ceiſio gan bawb a'i hofnant. *pſalm.* 106. 2. & 111. 2.

*Yr Arglwŷdd ſŷdd yn derchafu y rhai llariaidd; gan oſtwng y rhai annuwiol hŷd lawr.* Pſalm. 147. 6.

Yr Arglwŷdd ſŷdd yn gwneuthur cyfiawnder a barn i'r rhai gorthrymedig ôll. *pſalm.* 103. 6.

*Nid bŷth yr ymryſon efe: ac nid bŷth y ceidw efe ei ddigofaint.* Pſalm. 103. 9.

Nid yn ôl ein pechodau a gwnaeth efe â ni; Ac nid yn ôl ein hanwireddau y talodd efe i ni. *pſalm.* 103. 10.

*Canys cyfuwch ag ŷw'r Nefoedd uwchlaw'r Ddaiar; y rhagorodd efe ar y rhai a'i hofnant êf.* Pſalm. 103. 11.

Fel y toſturia Tâd wrth ei blant; fellu y toſturia yr Arglwŷdd wrth y rhai a'i hofnant êf. *pſalm.* 103. 13.

*Profaiſt ni O Dduw: coethaiſt ni fel coethi arian.* Pſalm. 66. 9.

Peraiſt i ddynion farchogaeth am ein pennau; aethom drwŷ'r tân, a'r dŵfr, a thi a'n dygaiſt allan i lê diwall. *pſ.*66.11.

*Oh, mor aml a blîn gyſtuddiau a wnaethoſt di i ni eu gweled; etto ti a'n bŷwhaiſt drachefn, ac a'n cyfodaiſt drachefn o orddyſnder y ddaiar.* Pſalm. 71. 18.

Tydi a'n cofiaiſt yn ein hiſel rádd, ac a'n hachubaiſt oddiwrth ein gelynion: o herwŷdd dy drugaredd ſŷdd yn dragywŷdd. *pſalm* 136. 23, 24.

*Graſlawn fuoſt O Arglwŷdd i'th dir: dychwelaiſt gaethiwed Jacob.* Pſalm. 85. 1.

Dangoſodd Duw i ni ei drugareddau yn helaeth: a Duw a wnaeth i ni weled ein hewŷllŷs ar ein gelynion. *pſal.* 59. 10.

*Hwŷ a gwŷmpaſant ac a ſyrthiaſant: ond nyni a gyfodaſom ac a ſafaſom.* Pſal. 20. 8.

Yno a ſyrthiodd gweithwŷr anwiredd; gwthiwŷd hwŷnt i lawr, ac nid allant gyfodi. *pſalm.* 36. 12.

*Yr Arglwŷdd a'n coſtodd ni, efe a'n bendithia: bendithia efe Dŷ Iſrael, bendithia efe Dŷ Aaron.* Pſalm. 115. 12.

Bendithia efe y rhai a'i hofnant êf: bychein a mawrion. *pſalm.* 115. 13.

*O na foliannent yr Arglwŷdd am ei ddaioni, a'i ryfeddodau i feibion dynion.* Pſalm. 107. 21.

O na aberthent hefŷd aberth moliant: ac na fynegent ei weithredoedd êf mewn gorfoledd. *pſalm.* 107. 22.

*Na chelant ychwaith rhag eu meibion: gan fynegu i'r oes a ddêl foliant yr Arglwŷdd, a'i nerth, a'i ryfeddodau y rhai a wnaeth efe.* Pſalm. 78. 4.

Fel y gwŷbydde yr oes a ddêl, ſef, y plant a enid: ac na byddant fel eu tadau yn genhedlaeth gyndŷn a gwrthryfelgar. *pſalm.* 78. 6, 8.

*Bendithiwch Dduw yn y cynnulleidſaoedd: ſef, yr Arglwydd, y rhai ydŷch o ffynnon Iſrael.* Pſalm. 68. 26.

Bendigedig fyddo'r Arglwŷdd yr hwn a'n llwŷtha beunŷdd a daioni: ſef, Duw ein Hiechŷdwriaeth. *pſalm* 68. 19.

*Darfydded weithian anwiredd yr annuwiol; ond cyfarwŷdda di y cyfiawn.* Pſal. 7. 9.

Llawenyched ac ymhyfryded ynot ti y rhai ôll a'th geiſiant: dyweded y rhai a garant dy iechŷdwriaeth bôb amſer, Mawryger yr Arglwŷdd. *pſalm.* 40. 19.

Gogoniant i'r Tád, ac i'r Máb, ac i'r Yſprŷd glân.

Megis yr oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac a bŷdd yn oeſtad yn oes oeſoedd. *Amen.*

¶ *Pſalmau Priod.* 124. 126. 129. 118.

¶ Llithiau Priod.

*Y gyntaf,* 2 Samuel. 19. *gwers* 9. *neu* Numeri 15.

*Te Deum.*

*Yr ail, yr Epiſtol* S. Jude.

*Jubilate Deo.*

¶ *Y Gwerſicclau neſſaf ar ôl y Credo a ſŷdd y rhai'n.*

*Offeiriad.* Arglwŷdd dangos dŷ

drugaredd

drugaredd arnom.

Atteb. *A chaniadha i ni dy iechŷdwriaeth.*

*Offeiriad.* Arglwŷdd, cadw'r Brenin.

Atteb. *Yr hwn sŷdd yn ymddiried ynot.*

*Offeiriad.* Anfon iddo borth o'th Sancteiddfa.

Atteb. *Ac bŷth yn nerthol amddiffŷn ef.*

*Offeiriad.* Na âd i'w Elynion gael y llaw uchaf arno.

Atteb. *Nag i'r enwir nessau iw ddrygu.*

*Offeiriad.* Gwîsc dy weinidogion ag iawnder.

Atteb. *A gwna dy ddewisol bobl yn llawen.*

*Offeiriad.* Arglwŷdd dyro dangnheddŷf yn ein dyddiau

Atteb. *Canys nid oes nêb arall a ymladd trosom ond tydi O Dduw yn unig.*

*Offeiriad.* Bŷdd i ni O Arglwŷdd, yn dŵr cadarn.

Atteb. *Rhag wŷneb ein gelynion.*

*Offeiriad.* Arglwŷdd gwrando ein gweddiau.

Atteb. *A deled ein llêf hŷd attat.*

¶ *Yn lle y Colect cyntaf ar y Foreuol Weddi yr arferir y rhai hŷn sŷdd yn canlŷn.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn wŷt gadarn dŵr ymddiffŷn i'th weision rhag wŷneb eu gelynion; yr ydŷm yn rhoddi i ti foliant a diolch, am y rhyfeddol ymwared a ganiadtaist i'r tair Teŷrnas hŷn, oddiwrth y *Gwrthryfel mawr* a nawsŵyllt, tan ba un y buasent yn gruddfan dros gymmaint o amser, a hefŷd oddiwrth yr hôll drueni a'r gorthrymderau, y rhai a darddasant oddiwrth yr unrhŷw. Yr ydŷm yn cydnabod mae dy ddaioni di ŷw, na'n rhoddwŷd ni yn gwbl yn Ysclyfaeth iddŷnt hwŷ: Ac yn erfŷn arnat yn oestadol barhau dy gyfrŷw drugareddau tuagattom; Fel y gallo yr hôll Fŷd wŷbod mae dy di ŷw ein hachubwr a'n cadarn waredwr ni, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. *Amen.*

O Arglwŷdd Dduw ein Hiechŷdwriaeth, yr hwn a fuost ddaionus iawn i'r Tîr hwn, a thrwŷ dy ryfeddol ragluniaeth a'n gwaredaist ni allan o'n hanrhefn resynol a thramawr, trwŷ edfrŷd i ni dy wasanaethwr, Brenin *Charles* yr Ail, yr hwn oedd ein grasusaf a'n cyfiawnaf Ben llywiawdwr ni yr amser hwnnw, [ er gwaetha gallu a malais ei Elynion ] a thrwŷ edfrŷd fel hŷn iddo êf ei Feddiannau cyfreithlawn ei hun, a'i sefydlu ar Orseddfaingc y Deŷrnas hon, a roddaist i ni rydd-did i broffessu yn gyhoeddus dy wîr Grefŷdd a'th iawn Addoliad; a hefŷd y fâth dangnedd ŷf a llwŷddiant a feddiannasom gŷnt, er mawr ddiddanwch ac anrhaethawl gysur ein calonnau: Yr ydŷm ni yr awr hon ymma ger dy fron di trwŷ lawn ddiolchgarwch, yn cydnabod dy fawr ddaioni tuagattom, yr hwn mor ehelaeth a ddangosaist i ni ar gyfer i'r dŷdd heddŷw, ac yn offrymmu ein haberth o foliant i'th Enw mawr gogoneddus am yr unrhŷw; Gan attolygu i ti fod yn wiw gennit dderbŷn yn rasusol ein diffuant offrymmedigaeth o honom ein hunain, er eu bôd yn anwiw ac yn anheilwng. A chan addo ac addunedu pob sanctaidd ufudd-dod ar feddwl, gair, a gweithred i'th Dduwiol fawredd; A phob dyledus, didwŷll a chywir wasanaeth (ynot ti ac erot ti) i'th Eneiniog sŷdd yr awrhon yn llyfodraethu trosom, ac i'w Etifeddion ar ei ôl. Bendithia êf, ni attolygwn i ti, â phôb cynnŷrch o râd, anrhydedd a dedwŷddwch yn y Bŷd hwn; a chorona êf âg anfarwoldeb a gogoniant yn y Bŷd a ddaw, er teilyngdod Jesu Grist ein Harglwŷdd a'n hunig Iachawdwr. *Amen.*

¶ *Yn niwedd y Litani (yr hwn a arferir yn oestad ar y dŷdd hwn) ar ôl y Colect,*

Nyni a attolygwn i ti O Arglwŷdd

Dâd, &c. *y dywedir y Colect sydd ymma nessaf yn canlyn.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn ymhôb oes a eglurais dy Allu a'th drugaredd, trwŷ rasusol gadwedigaeth a rhyfeddol ymwarad dy Eglwŷs, a thrwŷ noddi a diogelu cyfiawn a chrefyddol Frenhinoedd a Statau, yn proffessu dy sanctaidd, a'th dragywŷddol wirionedd, rhag maleisus gŷd-fwriadau ac ystrywiau drygionus eu gelynion dichellgar: Yr ydŷm ni yn ddiffuant, ac o eigion ein calonnau yn rhoddi i ti foliant a diolch, megis am dy hôll aml a'th gyhoeddus drugareddau tuagattom, fellu yn fwŷ arbennig am y rhyfeddol a'r yspysol ymwared yr hwn ar gyfer i heddŷw a ddarfu i'th ddaionus ragluniaeth i gwplau a'i ganiadhau i'n grasusaf ddaionus Arglwŷdd Frenin *Charles* yr Ail, ( yr hwn oedd yr amser hwnnw yn teŷrnasu trosom ) ac i'r hôll Frenhinol Deulu: Ac ynddŷnt hwŷ a chyda nhwŷ a ganiadtâist yr un ffunŷd i'r Eglwŷs hon a'r deŷrnas yn gyffredinol, ac i bôb ystâd a grâdd o ddynion ynddŷnt, oddiwrth y nawsŵyllt wrthryfel, y trais, y trawsedd, a'r creulondeb, â pha rai yr oedd dynion annuwiol yn ei blino, ac oddiwrth yr anrhefn resynol, a'r dinistr tosturus oedd mor debŷg i ganlŷn. O rasusaf a thrugarogcaf Arglwŷdd Dduw, nid ein haeddiant ni, ond dy drugaredd di; nid ein rhagddarbod ni, ond dy ragluniaeth di; nid ein nerth ein hunain, a'n cryfder ein hunain a'n gwaredodd oddiwrth yr hôll bethau hŷn, ond dy ddeheulaw di, a'th Fraich, a llewŷrch dy wŷneb; am dy fôd ti yn ein hoffi. Ac am hynnŷ nid i ni O Arglwŷdd; nid i ni, ond i'th Enw di, rhodder yr hôll anrhŷdedd, y gogoniant a'r mawl, ynghyd a'r Diolch gostyngeiddiaf a ffyddlonaf yn hôll Eglwŷsi'r Sainct: Ac fellu y byddo. Bendigedig fŷth a fô yr Arglwŷdd ein Duw, yr hwn yn unig sŷdd yn gwneuthur rhyfeddodau; A bendigedig fyddo ei Enw mawr êf yn dragywŷdd, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd a'n hunig Iachawdwr. *Amen.*

¶ *Yngwasanaeth y Cymmun o flaen yr Epistol, yn ddigyfrwng yr arferir y ddau Golect hŷn yn lle y Colect tros y Brenin a'r Colect am y Dŷdd.*

Holl-alluog Dduw yr hwn wŷt gadarn dŵr ymddiffŷn, &c.

O Arglwŷdd Dduw ein Hiechŷdwriaeth, yr hwn a fuost yn ddaionus i'r Tîr hwn, &c.

¶ *Yr Epistol.* 1 Peter. 2. *gw.* 11. *hŷd* 17.
¶ *Yr Efengŷl*, S. Matth. 22. *gw.* 16. *hŷd* 22.

¶ *Yn yr Offrymiad y darllennir y wers yma.*

Nid pôb un sŷdd yn dywedŷd wrthŷf, Arglwŷdd, Arglwŷdd, a ddaw i mewn i Deŷrnas Nefoedd; ond yr hwn sŷdd yn gwneuthur Ewŷllŷs fy Nhâd yr hwn sŷdd yn y Nefoedd. S. *Matth.* 7. 21.

¶ *Ar ôl y Weddi* dros hôll ystâd Eglwŷs Crîst, &c. *y dyweder y Colect hwn sŷdd yn canlŷn.*

HOll-alluog Dduw ein Tâd Nefol, yr hwn o'th anfeidrol drugaredd a'th anrhaethawl ddaioni tuagattom, mewn môdd rhyfeddol a ddad-ddymchwelaist, ac a ddiddymmaist annuwiol fwriadau y dynion bradwrus, pen-galedion, beilchion hynnŷ, y rhai tan rîth Crefŷdd a duwioldeb, a than gyscod Cariad i'th Enw Sancteiddiaf, a ddychmygasant, ac agos a gyflawnasant gwbl ddinistr yr Eglwŷs a'r deŷrnas hon: Megis yr ydŷm ni heddŷw o ddyfnder ein calonnau, ac a phôb defosionol burdeb yn addoli, ac yn mawrygu dy Enw gogoneddus, am yr anfeidrol ddaioni a'r drugaredd a ganiadtaist i ni yn barod; Fellu

yr

yr ydŷm yn oſtyngedig yn deiſyfu arnat barhâu dy râd a'th gariad tuagattom, gan ein cuddio tan gyſcod dy adenŷdd, fel na byddo bŷth o hŷn allan i'r ſath drueni greſynol ſyrthio arnom. I'r diben ymma anfon allan dy Oleuni a'th Wirionedd i ddatcuddio dyfnderau Satan, y dirgeledigaethau anwireddus hŷn fwŷ-fwŷ. Diddymma hôll ddirgel a chyfrinachol ddychmygion yr annuwiol. Goſtwng eu balchder, tola eu drygioni, a gwradwŷdda eu bwrriadau. Cadarnhâ ddwŷlo ein graſuſaf ddaionus Arglwŷdd Frenin *Wiliam*, a phawb ſŷdd mewn Awdurdod dano, â Barn ac â Chyfiawnder, i dorri ymaith hôll Weithredwŷr anwiredd, y rhai a droant Grefŷdd i wrthryfel, a Ffŷdd i derfŷſc, fel na allont bŷth ond hynnŷ gael buddugoliaeth droſom, na gorfoleddu yn-Niniſtr y Llyfodraeth Frenhinol, a'th Eglwŷs ſŷdd yn ein mŷſg. Ymddiffŷn a chadw ein graſuſaf Arglwŷdd Frenin, a'r hôll Frenhinol deulu, oddiwrth bôb dirgel frâd a thwŷllodrus gŷd-fwriadau. Bŷdd iddo yn Helm iechŷdwriaeth, ac yn gadarn dŵr ymddiffŷn rhag wŷneb ei Elynion. Megis am y rhai angerddol, aflonŷdd, a ſychedig am waed, gwiſg nhwŷ â chywilŷdd ac â gwradwŷdd, ond ar ein Brenin a'i Hiliogaeth, blodeued ei goron yn dragywŷdd. Felly nyni dy bobl a defaid dy borfa a'th foliannwn di yn dragywŷdd, ac a ddatcanwn dy foliant o genhedlaeth i genhedlaeth bŷth, trwŷ Jeſu Griſt ein hunig Iachawdr a'n gwaredwr; i'r hwn gyda thydi O Dâd, a Duw yr Yſprŷd glân, a byddo y gogoniant yn yr Eglwŷs, drwŷ'r hôll genhedlaethau, heb drangc na gorphen. *Amen.*

---

WILIAM R.

Ein Hewŷllŷs a'n pleſer ŷw, i'r Drefn hon o VVeddi â Diolchgarwch, a wnaed i'r Pummed o Dachwedd, fôd allan o law yn Breintiedig ac yn Gyhoeddedig; ac o hŷn allan i'w gŷd-gynnwŷs gyda Llyfr y VVeddi Gyffredin a Liturgi Eglwŷs Loegr, i'w arfer bôb blwŷddŷn ar y dywededig ddŷdd, mewn pôb Cadeiriawl a Cholegawl Egwŷſau a Chappelau, mewn Cappel pôb Coleg ac Awl o fewn Ein dwŷ Uniferſiti, ac o'n Colegau o Eaton a Chaerwŷnt, ac mewn pôb Eglwŷs a Chappel Plwŷfawl o fewn Ein Teŷrnas Lloegr, Arglwŷddiaeth Cymrŷf, a Thrê Berwic ar Tweed.

Rhoddwŷd yn Ein Llŷs yn *Kengſington*, y trydŷdd ar bymtheg dŷdd o *Hydref*, 1690. Yn yr Ail Flwŷddŷn o'n Gwladychiad.

*Trwŷ Orchymmŷn Ei Fawrhydi*

Nottingham.

---

MARIE R.

Ein Hewŷllŷs a'n Pleſer ŷw, i'r Tair Trefn Gweddi a Gweinidogaeth hŷn, a wnaed i'r Pummed o Dachwedd, y Degfed ar hugain o Ionawr, a'r Nawfed ar hugain o Fai, fôd allan o law yn Breintiedig ac yn Gyhoeddedig; ac o hŷn allan i'w cŷd-gynnwŷs gyda Llyfr Gweddi Gyffredin a Liturgi Eglwŷs Loegr, i'w harfer bôb blwŷddŷn ar y dywededig ddyddiau, mewn pôb Cadeiriawl a Cholegawl Eglwŷſau a Chappelau; mewn Cappel pôb Coleg ac Awl o fewn Ein dwŷ Uniferſiti, ac o'n Colegau o Eaton a Chaerwŷnt, ac mewn pôb Eglwŷs a Chappel Plwŷfawl o fewn Ein Teŷrnas Lloegr, Arglwŷddiaeth Cymrŷf, a Thrê Berwic ar Tweed.

Rhoddwŷd yn Ein Llŷs yn y *Neuadd-wenn* y chweched dŷdd o *Hydref*, 1692. yn y Bedwaredd Flwŷddŷn o'n Gwladychiad.

*Trwŷ Orchymmŷn Ei Mawrhydi.*

Nottingham.

## Ffurf a Dull Gwneuthur, Urddo a Chyssegru Escob'ion, Offeiriaid, a Diaconiaid, Yn ol Trefn Eglwys Loegr.

### Y Rhag-ymadrodd.

*Ysprs ŷw i bawb yn dyfal ddarllain yr Yscrythŷr lân a Hen Awduriaid, fôd hŷn o Weinidogion yn Eglwŷs Grist, er amser yr Apostolion; sef, Escobion, Offeiriaid a Diaconiaid. A'r cyfrŷw barchus frî ydoedd erioed ar y swŷddau hŷn, fel na allei nêb ryfygu gweini yn yr ûn o honŷnt, oddieithr yn gyntaf gael ei alw, ei brofi, ei holi, a gwŷbod fôd ganddo Gynneddfau cymmwŷs i'r unrhŷw. Oddieithr hefŷd cael trwŷ Weddi gyffredinol ac Arddodiad Dwŷlo, ei dderbŷn a'i ddodi yn y swŷdd gan Awdurdod Gyfreithlawn.*

*O herwŷdd paham, tuagat fôd parhâad, ac ymarfer, a brî barchus ar hŷn, o fewn Eglwŷs Loegr; ni Chyfrifir ac ni Chymmerir nêb am Escob, Offeiriad neu Ddiacon Cyfreithlawn, o fewn Eglwŷs Loegr, ac ni oddefir iddo weini yn yr ûn or Swŷddau dywededig, oddieithr iddo gael ei alw, ei brofi, a'i holi, a'i dderbŷn iddŷnt yn ôl y ffurf sŷdd yn canlŷn ymma, neu ei fôd wedi cael Cyssegriad neu Urddiad gan Escobion ymlaen-llaw.*

*Ac ni dderbynnir nêb yn Ddiacon hŷd y oni bo yn dair blwŷdd ar hugain o oedran: A bydded pôb ûn a dderbynnir yn Offeiriad, yn llawn pedair blwŷdd ar hugain o oedran: A bydded pôb ûn a Urddir neu a Gyssegrir yn Escob, yn gyflawn ddeng mlwŷdd ar hugain o oedran.*

*Ac yr Escob ei hun, neu drwŷ dystiolaeth gyflawn gan eraill, yn gwŷbod fôd rhŷw ûn yn ŵr o fuchedd Rinweddus, ac yn ddifeius, ac yn ei gael ef yn ôl ei holi a'i brofi yn ddyscedig yn y Lading-iaith, ac yn ddigon cyfarwŷdd yn yr Ysgrythŷr lân, efe a all ei wneuthur ef yn Ddiacon yngŵŷdd yr Eglwŷs, ar yr amseroedd pwŷntiedig yn y Canon, neu ar achos mawr yn cymmell ar rŷw Ddŷdd Sul, neu Ddŷdd-Gwŷl arall yn y môdd a'r ffurf, yn canlŷn.*

---

### Ffurf a Dull Gwneuthur, Diaconiaid.

¶ A*R y dŷdd pwŷntiedig gan yr Escob, pan orphenner y Gwasanaeth Boreu, y bŷdd pregeth neu Gyngor yn mynegu swŷdd a dyled [ y cyfrŷw a ddeuant i'w gwneuthur yn Ddiaconiaid ] mor angenrheidiol ŷw y Râdd honno yn Eglwŷs Grist: Ac hefŷd, pa faint y dyleu y bobl eu perchi hwŷ yn eu swŷdd.*

¶ *Yn gyntaf, yr Arch-Diacon neu ei ddeputi ef a Bresentia i'r Escob ( ac ef yn eistedd yn ei Gadair ger llaw y Bwrdd bendigedig ) gynnifer ag a ddymunant eu Hurdde yn Ddiaconiaid ( a phôb ûn o honŷnt wedi ymwisco yn hardd ) gan ddywedŷd y geiriau hŷn.*

ANrhydeddus Dâd yn-Nuw, yr wŷf yn presentio i chwi y rhai presennol hŷn i'w gwneuthur yn Ddiaconiaid.

*Yr Escob.*

GWiliwch ar fôd y Rhai yr ŷch yn eu presentio i ni yn addas a Chymwŷs o herwŷdd eu dŷsc a'u duwiol ymwareddiad, i iawn gyflawni eu Gweinidogaeth er anrhydedd i Dduw, ac er adeiladaeth i'w Eglwŷs.

¶ *Yr Arch-Diacon a ettŷb.*

MYfi a ymofynnais am eu hanes, ac a'u holais hwŷnt eu hunain, ac yr wŷfi yn meddwl i bôd hwŷ fellu.

¶ *Yna*

¶ *Yna yr Escob a ddywed wrth y Bobl*

FY mrodŷr, od oes nêb o honoch a ŵŷr ûn rhwŷstr neu fai cyhoeddus yn nêb o'r rhai hŷn a bresentiwŷd i'w hurddo yn Ddiaconiaid, o herwŷdd yr hwn ni ddylei gael ei dderbŷn i'r swŷdd honno, deued ger bron yn Enw Duw a dangosed beth ŷw'r bai neu'r rhwŷstr.

¶ *Ac os rhŷw fai gorthwm neu rwŷstr a honnir, yr Escob a arbed urddo y dŷn hwnnw hŷd pan gaffer y cyhoeddedig yn ddiargywedd o'r bai hwnnw.*

¶ *Yna yr Escob [ gan Orchymmŷn y rhai a gaffer yn gymmwŷs i'w hurddo i weddiau y Gynnulleidfa ] gydâ'r Eglwŷs-wŷr a'r Bobl bresennol, a gân neu a ddywed y Litani fel a mae yn canlŷn.*

---

*Y Litani ar Cŷd-eirchion.*

DUw Tâd o'r Nêf: trugarha wrthŷm wîr bechaduriaid.

*Duw Tâd o'r Nêf trugarha wrthŷm wîr bechaduriaid.*

Duw Fâb, bryn-ŵr y bŷd: trugarha wrthŷm wîr bechaduriaid.

*Duw Fâb, bryn-ŵr y bŷd trugarha wrthŷm wîr bechaduriaid.*

Duw Ysprŷd glân, yn deilliaw oddwrth y Tâd a'r Mâb; trugarha wrthŷm wîr bechaduriaid.

*Duw Ysprŷd glân, yn deilliaw oddiwrth y Tâd a'r Mâb, trugarha wrthŷm, &c.*

Y Gogoned, lân, fendigaid Drindod, tri pherson, ac un Duw: trugarha wrthŷm wîr bechaduriaid.

*Y Gogoned, lân, fendigaid Drindod, &c.*

Na chofia Arglwŷdd ein anwiredd, nag anwiredd ein rhieni, ac na ddyro ddial am ein pechodau; arbed nyni Arglwŷdd daionus, arbed dy bobl a brynaist a'th werth-fawr waed, ac na lidia wrthŷm yn dragywŷdd.

*Arbed ni Arglwŷdd daionus.*

Oddiwrth bôb drwg ac anffawd, oddiwrth bechod, oddiwrth ystrŷw a chŷrch y cythrael, oddiwrth dy lid, ac oddiwrth farnedigaeth dragywŷddol.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Oddiwrth bôb dallineb calon, oddiwrth falchder a gwâg ogoniant, a ffûg sancteiddrwŷdd, oddiwrth genfigen, digasedd a bwriad drwg, a phôb angharIadoldeb.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Oddiwrth anniweirdeb a phôb pechod marwol, ac oddiwrth hôll dwŷll y bŷd, y cnawd a'r cythrael.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Oddiwrth fellt a thymestl, oddiwrth blâ, haint, y nodeu, a newŷn, oddiwrth ryfel ac ymladd, ac oddiwrth angeu disyfed.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus,*

Oddiwrth bôb terfŷsg, a digel frâd, a gwrthryfel, oddiwrth bôb ffals ddysceidiaeth, opiniwn annuwiol a schism, oddiwrth galedrwŷdd calon, a dirmŷg ar dy air a'th orchymŷn.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Trwŷ ddirgelwch dy gnawdoliaeth, trwŷ dy sanctaidd anedigaeth, a'th enwaediad, trwŷ dy fedŷdd, dy ymprŷd, a'th brofedigaeth.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Trwŷ dy ddirfawr ing, a'th chwŷs gwaedlŷd, drwŷ dy grôg a'th ddioddefaint, drwŷ dy werthfawr angeu a'th gladdedigaeth, drwŷ dy anrhydeddus gyfodiad, a'th escynniad, a thrwŷ ddyfodiad yr Ysprŷd glân.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Yn hôll amser ein trallod, yn hôll amser ein gwŷnfŷd, yn awr angeu, ac yn nŷdd y farn.

*Gwared ni Arglwŷdd daionus.*

Nyni bechaduriaid a attolygwn i ti ein gwrando, O Arglwŷdd Dduw, a theilyngu o honot gadw, rheoli, a llywodraethu dy lân Eglwŷs gatholic, yn y

ffordd union.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando* Ar-*glŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot gadw a nerthu i'th wîr addoli mewn iawnder a glendid buchedd, dy wasanaeth-ŵr *Wiliam* ein grasusaf Frenhin a'n pen-llywŷdd.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot lywodraethu ei galon yn dy ffydd, ofn, a chariad, ac iddo ymddiried bŷth ynot, ac ymgais yn wastad a'th anrhydedd, a'th ogoniant.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwydd trugarog.*

Teilyngu o honot ei amddiffŷn a'i gadw, gan roddi iddo fuddugoliaeth ar ei hôll elynnion.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando* Ar-*glwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot fendithio a chadw *Catherin* y frenhines weddw, y Dwŷsoges *Ann* o *Ddenmarc* a'r hôll frenhinol deulu.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando* Ar-*glwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot lewŷrchu yr hôll Escobion Offeiriaid a Diaconiaid, ag iawn wŷbodaeth a deall dy air: ac iddŷnt hwŷ trwŷ eu pregeth a'u buchedd, ei fynegu a'i ddangos yn ddyladwŷ.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando* Ar-*glwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot gynnyscaeddu Arglwŷddi'r Cyngor, a'r hôll fonedd â grâs, doethineb, a deall.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando* Ar-*glwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot fendithio a chadw y pen-swŷddogion, gan roddi iddŷnt ras i wneuthur cyfianwder, ac i faentumio y gwîr.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando* Ar-*glwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot fendithio a chadw dy hôll bobl.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando* Ar-*glwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot roddi i bôb cenhedlaeth, undeb, tangnheddŷf, a chŷdgordiad.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando* Ar-*glwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot roddi i ni galon i'th garu ac i'th ofni, ac i fŷw yn ddiesceulus yn ôl dy orchymynion.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando* Ar-*glwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot roddi i'th bobl ychwaneg o râd, i wrando yn ufudd dy air, ac iw dderbŷn o bur ewŷllŷs, ac i gynhyrchu ffrwŷth yr Yspryd.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando* Ar-*glwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot ddwŷn i'r ffordd wîr, bawb ar a aeth ar gyfeiliorn ac a dwŷllwŷd.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando* Ar-*glwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot nerthu y rhai sŷ yn sefyll, a chonfforddio a chynnorthwŷo y rhai sŷ' â gwan galon, a chyfodi y sawl a syrthiant, ac o'r diwedd curo i lawr Satan tan ein traed.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando* Ar-*glwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot gymorth, a helpio, a diddanu pawb ar sŷdd mewn perigl, angenoctid a thrwblaeth.

*Nyni a attolywn i ti ein gwrando* Ar-*glwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot gadw pawb a'r sŷdd yn ymdaith ar fôr na thîr, pôb gwraig wrth escor plant, pôb clwŷfŷs a rhai bychain, a thosturio wrth bawb a fyddo mewn caethiwed a charchar.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando* Ar-*glwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot amddiffŷn ac ymgleddu y plant ymddifaid, a'r gwragedd gweddwon, a phawb y sŷdd yn unig,

ac

ac yn goddef pwŷs plaid orthrech.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot drugarhau wrth bob dŷn.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot faddeu i'n gelynion, erlynwŷr, ac ysfland-wŷr, a throi eu calonnau.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot roddi a chadw er ein llês, amserol ffrwŷthau y ddaiar, môdd y caffom mewn amser dyledus eu mwŷnhau.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arglwŷdd trugarog.*

Teilyngu o honot roddi i ni wîr edifeirwch, a maddeu i ni ein hôll bechodau, ein esceulustra, a'n hanwŷbod, a'n cynhyscaeddu â rhâd dy Yspryd glân, i wellhau ein buchedd yn ôl dy air sanctaidd.

*Nyni a attolygwn i ti ein gwrando Arlwŷdd trugarog.*

Mâb Duw: attolygwn i ti ein gwrando.

*Mâb Duw: attolygwn i ti ein gwrando.*

Oen Duw, yr hwn wŷt yn dileu pechodau'r bŷd.

*Caniadha i ni dy dangneddŷf.*

Oen Duw, yr hwn wŷt yn dileu pechodau'r bŷd.

*Trugarha wrthŷm.*

Crîst clŷw nyni.

*Crîst clŷw nyni.*

Arglwŷdd trugarha wrthŷm.

*Arglwŷdd trugarha wrthŷm.*

Crîst trugarha wrthŷm.

*Crîst trugarha wrthŷm.*

Arglwŷdd trugarha wrthŷm.

*Arglwŷdd trugarha wrthŷm.*

¶ *Yna a dywed yr Offeiriad a'r bobl gydag ef weddi'r Arglwŷdd.*

EIn Tâd yr hwn wŷt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw. Deled dy Deŷrnas. Bydded dy Ewŷllŷs ar ŷ ddaiar megis a mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddŷw ein bara beunyddiol. A maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ni i'n dyled-wŷr. Ac nag arwain ni i brofedigaeth; Ond gwared ni rhag drŵg: *Amen.*

*Offeiriad.* Arglwŷdd na wna â nyni yn ol ein pechodau.

*Atteb.* Ac na obrwŷa ni yn ôl ein hanwiredd.

¶ *Gweddiwn.*

DUw Tâd trugarog, yr hwn nid wŷt yn diystyru uchenaid calon gystuddiedig, nag adduned y gorthrymedig: Cynorthwŷa yn drugarog ein gweddiau, y rhai yr ydŷm ni yn eu gwneuthur ger dy fron yn ein trallod a'n blinfŷd, pa brŷd bynnag y gwascant arnom: a gwrando ni yn rasusol, fel y bo i'r drygau hynnŷ, y rhai y mae ystrŷw a dichell diafol neu ddŷn yn eu gwneuthur i'n herbŷn, fyned yn ofer, a thrwŷ ragluniaeth dy ddaioni di, iddŷnt fod yn wascaredig, môdd na'n briwer dy weision drwŷ erlŷn nêb, a gallu o honom bŷth ddiolch i ti yn dy lân Eglwŷs, trwŷ Iesu Grîst ein Harglwŷdd.

*Arglwŷdd, cyfod, cymmorth ni, a gwared ni er mwŷn dy Enw.*

O Dduw, ni a glywsom a'n clustiau, a'n tadau a fynegasant i ni y gweithredoedd ardderchawg a wnaethost yn eu dyddiau, ac yn y cynfŷd o'u blaen hwŷ.

*Arglwŷdd, cyfod, cymmorth ni, a gwared ni er mwŷn dy anrhydedd.*

Gogoniant i'r Tâd, ac i'r Mâb, ac i'r Yspryd glân.

*Atteb.* Megis yr oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac a bŷdd yn oestâd yn oes oesoedd. Amen.

Rhag ein gelynion amddiffyn ni, Crist.

*Yn rasol edrych ar ein poenedgaethau.*

Yn dosturus ystyria wrth drymder ein calonnau.

*Yn drugarog maddeu bechodau dy bobl.*

Yn garedigol gan drugaredd gwrando ein gweddiau.

*Jesu Fâb Dafydd trugarhâ wrthŷm.*

Yr awr hon a phob amser, teilynga ein gwrando O Crist.

*Yn rasol clŷw ni O Crist yn rasol clŷw nyni O Arglwŷdd Grist.*

*Offeiriad.* Arglwŷdd dangos dy drugaredd arnom.

*Atteb.* Fel yr ŷm yn ymddiried ynot.

¶ *Gweddiwn.*

NYni a attolygwn i ti O Arglwŷdd Dâd, yn drugarog edrych ar ein gwendid, ac er gogoniant dy Enw, ymchwel oddi-wrthŷm yr hôll ddrygau a ddarfu i ni o wîr gyfiawnder eu haeddu, a chaniadha fôd i ni yn ein hôll drallod ddodi ein cyfan ymddiried a'n gobaith yn dy drugaredd, ac bŷth dy wasanaethu mewn sancteiddrwŷdd, a phurdeb buchedd, i'th anrhydedd a'th ogogoniant trwŷ ein hunig gyfryngwr a'n dadleuwr Jesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

¶ *Yna a cenir neu a dywedir gwasanaeth y Cymmun, gydâ'r Colect, Epistol, a'r Efengŷl, fel a mae yn canlŷn.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn o'th dduwiol ragluniaeth a osodaist amrŷw raddau o Weinidogion yn dy Eglwŷs, ac a ysprydolaist dy Apostolion i ddewis i Radd Ddiaconiaid y cŷn-ferthŷr St. Stephan ac eraill: Edrŷch yn drugarog ar dy wasanaeth ddynion hŷn y rhai yr awron a elwir i'r unrhŷw swŷdd a Gweinidogaeth. Fellu cyflawna hwŷnt â'th wîr athrawiaeth, ac addurna hwŷnt â diniweidrwŷdd Buchedd, fel y bô iddŷnt drwŷ air ac esampl ddâ dy wasanaethu di yn ffyddlon yn y swŷdd hon, er gogoniant i'th Enw, ac adeiladaeth dy Eglwŷs, trwŷ haeddedigaethau ein prynwr Jesu Grist; Yr hwn sŷdd yn bŷw ac yn Teŷrnasu gydâ thydi a'r Yspryd glân yr awr hon ac yn dragywŷdd. *Amen.*

*Yr Epistol.* 1 Tim. 3. 8, 13.

RHaid i'r Diaconiaid yr un ffunŷd, fôd yn onest, nid yn ddau-eiriog, nid yn ymroi i wîn lawer, nid yn budrelwa: Yn dala dirgelwch y ffŷdd mewn cydwŷbod bûr. A phrofer y rhai hynnŷ hefŷd yn gyntaf, yna gwasanaethant swŷdd Diaconiaid, os byddant ddiargyoedd. Y mae yn rhâid iw gwragedd yr un môdd fôd yn honest, nid yn enllibaidd, yn sobr, yn ffyddlon ymhôb pêth. Bydded y Diaconiaid yn wŷr un wraig, yn llyfodraethu eu plant, a'u tai eu hunain, yn ddâ. Canŷs y rhai a wasanaethant swŷdd Diaconiaid yn ddâ, ydŷnt yn ennill iddŷnt eu hunain, rhâdd ddâ, a hyfder mawr yn y ffŷdd sŷdd yng-Hrîst Jesu.

*Neu hon.* Actau. 6. 2, 7.

YNa'r deuddeg a alwasant ynghŷd y lliaws discyblion, ac a ddywedasant: Nid ŷw gymhesur i ni adel gair Duw, a gwasanaethu byrddau. Am hynnŷ frodŷr, edrychwch yn eich plîth, am seithwŷr dâ eu gair, yn llawn o'r Yspryd glân a doethineb, y rhai a osodom ar hŷn o orchwŷl. Ond nyni a barhawn mewn gweddi, a gweinidogaeth y gair: A bodlon fu'r ymadrodd gan yr hôll liaws: A hwŷ a etholasant Stephan, gŵr llawn o ffydd, ac o'r Yspryd glân, a Philip, a Phrochorus, a Nicanor, a Thimon, a Pharmenas, a Nicholas, proselŷt o Antiochia: Y rhai a osodasant hwŷ ger bron yr Apostolion, ac wedi iddŷnt weddio, hwŷ a ddodasant eu dwŷlo arnŷnt hwŷ. A gair Duw a gynnyddodd a

rhifedi

rhifedi y dyscyblion yn Jerusalem a amlhaodd yn ddirfawr, a thyrfa fawr o'r offeiriaid a ufuddhasant i'r ffŷdd.

¶ *Ac o flaen yr Efengŷl, yr Escob (yn eistedd yn ei Gadair,) a bair roddi i bôb ûn o'r rhai sŷdd i dderbŷn yr Urdd hon, y Llŵ am Uchafiaeth y Brenin, ac yn erbŷn Gallu ac Awdurdod pôb pennaeth arall-wlâd.*

*Y Llŵ am unbenaeth y Brenin.*

YR wŷfi *A. B.* o eigion fy nghydwŷbod yn Tystio ac yn mynegu, mai Grâs y Brenin yn unig sŷdd oruchlywiawdr ar y deŷrnas hon, ac ar hôll eraill Arglwŷddiaethau a Gwledŷdd ei Râs ef, yn gystal ymhôb rhŷw bethau a Dadleuon Ysprydol neu Eglwŷsig, a bydol. Ac nad oes, ac na ddylei fod i ûn estron Dwŷsog, Dŷn, Prelad, Stât neu bennaeth, ddim Beirniadaeth, Gallu, Goruchafiaeth, Rhagoriaeth neu Awdurdod Eglwŷsig neu Ysprydol o fewn y Deŷrnas hon. O herwŷdd pa ham yr wŷfi yn llwŷr wadu, ac yn ymwrthod â phôb rhŷw Feirniadaethau, Galluoedd, Goruchderau, ac Awdurdodau, ac yr wŷfi yn addaw y dygaf ffyddlondeb a Gwrogaeth gywir i Râs y Brenin, ei Etifeddion a'i Sycfessoriaid Cyfreithlawn; ac y cynnorthwŷaf, ac y diffynnaf hŷd y byddo i mi allu, Bôb Beirnadaeth, Braint, Rhagoriaeth ac Awdurdod a roddwŷd neu a berthŷn i Râs y Brenin, i'w Etifeddion, ac i'w Sycfessoriaid, neu a unwŷd ac a gyfsylltwŷd at ymmerodrol goron y Deŷrnas hon; fel i'm cynnorthwŷo Duw a Chynnwŷsiad y Llyfr hwn.

¶ *Yna yr Escob a ecsamia bôb ûn o'r rhai a urddir yngŵŷdd y bobl, yn ôl y Dull yn Canlŷn.*

YDŷchwi yn credu eich cynhyrfu oddifewn gan yr Yspryd glân, i gymmerŷd arnoch y Swŷdd, a'r weinidogaeth hon at wasanaethu Duw, er hyfforddiad i'w ogoniant ac er Adeiladaeth i'w Bobl.

*Atteb.* Yr wŷf yn credu hynnŷ.

*Escob.* YDŷch chwi yn tybied eich bod wedi eich gwîr alw i Weinidogaeth yr Eglwŷs yn ôl ewŷllŷs ein Harglwŷdd Jesu Grist, ac iawn drefnyddiad y Deŷrnas hon?

*Atteb.* Yr wŷf yn meddwl hynnŷ.

*Escob.* A ŷch chwi yn ddiffuant yn credu y canon ôll o Ysgrythyrau yr Hên Destament a'r Newŷdd?

*Atteb.* Yr wŷf yn eu credu hwŷnt.

*Escob.* A ddarllennwch chwi yr unrhŷw yn ddyfal i'r Bobl ymgynnulledig yn yr Eglwŷs lle i'th osoder i weini?

*Atteb.* Gwnâf.

*Escob.* Y Mae yn perthŷn i Swŷdd Diacon, yn yr Eglwŷs lle gosodir ef i weini, gynnorthwŷo yr Offeiriad yngwasanaeth Duw, ac yn Bennaf pan fyddo efe yn ministrio y Cymmun bendigedig, i helpu ef, i'w gyfrannu ef. A darllain yr Yscrythŷr Lân a'r Homiliau yn yr Eglwŷs; ac addyscu y bobl ieuaingc yn y Catechism. Bedyddio rhai bychain lle na bô yr Offeiriad yn bresennol; a phregethu, os caniadheir iddo hynnŷ gan yr Escob. Ac ymhellach ei swŷdd ef ŷw, lle mae darmerth i'r Tlodion, ymofŷn am blwŷfolion cleifion, anghenus a gweiniaid, mynegu i'r Curad eu cyflwr, eu henwau a'u Trigfeŷdd, fel trwŷ eu gyngor ef, y gallont dderbŷn cymmorth o Elusenau y plwŷfolion ac eraill. A wnewch chwi hŷn yn barod ac yn ewŷllysgar?

*Atteb.* Trwŷ nerth Duw mi a wnâf fellu.

*Escob.* A Ymroddwch chwi drwŷ bôb diwŷdrwŷdd i lunio a Threfnu eich bucheddau eich hun, a bucheddau eich teuluoedd, yn ôl Athrawlaeth

rawiaeth Crist, ac i'ch gwneuthur eich hunain a hwŷthau, [ hŷd y safo ynoch ] yn esamplau iachol i ddiadell Crist?

*Atteb.* Mi wnâf fellu, a'r Arglwŷdd yn Borth i mi.

*Escob.* ARoddwch chwi barch ac ufudd-dod i'ch Ordinari, ac i Ben-gweinidogion eraill yr Eglwŷs, ac i'r cyfrŷw a roddir iddŷnt y Gofal ar Llyfodraeth drosoch chwi, gan ddilŷn eu cynghorion duwiol hwŷ yn Llawen ac yn ewŷllyscar.

*Atteb.* Mi a wnaf fy ngorau, a'r Arglwŷdd yn borth i mi.

¶ *Yna yr Escob gan ddodi ei ddwŷlo ar ben pôb ûn o honŷnt yn gostwng ar eu glinniau o'i flaen ef a ddywed.*

CYmmer di awdurdod i wasanaethu Swŷdd Diacon o fewn Egwŷs Duw orchymmŷnedig i ti, yn Enw'r Tâd, a'r Mâb, a'r Yspryd glân. Amen.

¶ *Yna a dyrŷ yr Escob y Testament Newŷdd i law pôb un o honŷnt, gan ddywedŷd.*

CYmmer di awdurdod i ddarllain yr Efengŷl o fewn Eglwŷs Dduw, ac i bregethu yr unrhŷw, os caniadheir i ti hynnŷ gan yr Escob ei hun.

¶ *Yna ûn o honŷnt yr hwn a appwŷntio yr Escob, a ddarllŷn yr Efengŷl.*

*Yr Efengŷl* S. Luc. 12. 35. *hŷd* 39.

BYdded eich lwŷnau wedi eu hamwregysu, a'ch canhwŷllau wedi eu goleu. A chwithau yn debŷg ei ddynion yn disgwil eu harglwŷdd, pa brŷd y dychwel o'r neithior, fel pan ddelo a churo, yr agoront iddo yn ebrwŷdd. Gwŷn eu bŷd y gweision hynnŷ y rhai a gaiff eu harglwŷdd pan ddêl, yn effro: Yn wîr meddaf i chwi, efe a ym-wregysa, ac a wna iddŷnt eistedd i lawr i fwŷdta, ac a ddaw, ac a wasanaetha arnŷnt hwŷ. Ac os daw efe ar yr ail wiliadwriaeth, ac os ar y drydedd wiliadwriaeth y daw, a'u cael hwŷnt fellu gwŷn eu bŷd y gweision hynnŷ.

¶ *Yna yr â yr Escob ymmlaen yn y Cymmun, a chynnifer a urddwŷd a arhosant ac a gymmerant y Cymmun bendigedig gyda'r Escob yr ûn dŷdd.*

¶ *Pan orphenner y Cymmun, ar ôl y Colect diweddaf ac yn nessaf o flaen y fendith, y dywedir y Colectau hŷn yn canlŷn.*

HOll-alluog Dduw rhoddwr pôb dawn dâ, yr hwn y bu gwiw gennit dderbŷn a chymmerŷd dy wasanaethwŷr hŷn i Swŷdd Diaconiaid i'th Eglwŷs: Gwna hwŷnt, ni a attolygwn i ti Arglwŷdd, yn orchwŷlus, yn ostyngedig, ac yn astud yn eu Gweinidogaeth; Dyro iddŷnt ewŷllŷs parod i gadw pôb Ysprydol ddyscyblaeth, i arwedd bôb amser dystiolaeth cydwŷbod ddâ, ac i ymgynnal bŷth yn ddiyscog ac yn gadarn yn dy Fâb Crist, fel gan ymarwedd yn ddâ yn y swŷdd isel-râdd hon, y caffont eu cyfrif yn deilwng i'w galw i Weinidogaethau Uwch yn dy Eglwŷs, Trwŷ'r unrhŷw dy Fâb ein Iachawdr Jesu Grist, i'r hwn bydded y gogoniant a'r anrhydedd bŷth bŷthoedd. *Amen.*

RHag-flaena ni O Arglwŷdd, yn ein hôll weithredoedd, a'th radlonaf hoffder, a rhwŷddhâ ni a'th barhaus gymmorth, fel yn ein hôll weithredoedd dechreuedig, a therfŷnedig ynot ti, y gallom foliannu dy sanctaidd Enw, ac yn y diwedd gael gan dy drugaredd fywŷd tragywŷddol, trwŷ Jesu Grist ein Harglwŷdd. Amen.

TAngneddŷf Dduw yr hwn sŷdd uwchlaw pôb deall, a gadwo eich calonnau a'ch meddyliau yngwŷbodaeth a chariad Duw a'i Fâb Jesu Grist ein Harglwŷdd. A bendith Dduw hôll-alluog, y Tâd, y Mâb, a'r Yspryd glân fyddo i'ch plith, ac a drigo gyda chwi yn wastad. *Amen.*

¶ *At*

*¶ Ac ymma a dylid mynegu i'r Diacon, y gorfŷdd iddo aros yn ei Swŷdd o Ddiaconiaeth tros yspaid ûn flwŷddŷn gyfan [ oddieithr i'r Escob ar rŷw achosion Rhesymol weled yn ddâ yn amgenach ] tuagat fôd yn berffaith ac yn gyfarwŷdd yn y pethau a berthynant i'w Weinidogaeth Eglwŷsig ef. Yn gwneuthur yr hŷn os ceir ef yn ffyddlawn ac yn ddiwŷd; fe all ei Ddiojessan ei dderbŷn ef i Urdd Offeiriadaeth, ar yr amseroedd gosodedig yn y Canon, neu os bŷdd achos mawr yn cymmell, ar rŷw ddŷdd Sûl, neu ddŷdd Gŵyl arall, yngŵydd yr Eglwŷs ar y Dull a'r ffurf sŷdd yn canlŷn isod.*

## Ffurf a Dull Urddo Offeiriaid.

*¶ AR y dŷdd pwŷntiedig gan yr Escob, pan orphenner y Gwasanaeth Boreu, y bŷdd pregeth neu Gyngor yn mynegu swŷdd a dylêd [ y cyfryw a ddeuant i'w gwneuthur yn Offeiriaid ] mor angenrheidiol ŷw y Râdd honno yn Eglwŷs Grist: Ac hefŷd pa faint y dyleu y bobl eu perchi hwŷ yn eu swŷdd.*

*¶ Yn gyntaf, yr Arch-Diacon neu yn ei absen, rhŷw ûn a appwŷntir yn ei le ef, a Bresentia i'r Escob (yn eistedd yn ei Gadair ger llaw y Bwrdd bendigedig) gynnifer ag a dderbŷn Urdd Offeiriadaeth y dwthwn hwnnw [ a phôb ûn o honŷnt wedi ymwisco yn hardd ] ac a ddywed.*

ANrhydeddus Dâd yngHrîst, yr wŷf yn presentio i chwi y gwŷr presennol hŷn i'w Hurddo yn Offeiriaid.

*Yr Escob.*

GWiliwch ar fôd y Rhai yr ŷch yn eu presentio i ni yn addas a Chymwŷs o herwŷdd eu dŷsc a'u duwiol ymwareddiad, i iawn gyflawni eu Gweinidogaeth er anrhydedd i Dduw, ac er adeiladaeth i'w Eglwŷs.

*¶ Yr Arch-Diacon a ettŷb.*

MYfi a ymofynnais am eu hanes, ac a'u holais hwŷnt eu hunain, ac yr wŷfi yn meddwl i bôd hwŷ fellu.

*¶ Yna yr Escob a ddywed wrth y Bobl.*

Y Bobl ddâ, dymma'r rhai yr ŷm ar fedr, gyda chennad Duw, eu cymmerŷd heddŷw i gyssegr-swŷdd Offeiriadaeth: Canŷs ar ôl eu holi yn ddyfal, nid ydŷm yn gweled amgenach, na chawsant eu galw yn gyfreithlawn i'w Swŷdd a'u Gweinidogaeth; a'u bôd yn wŷr cymmwŷs i'r unrhŷw. Ond er hŷn igŷd, od oes nêb o honoch chwi, a wŷr ûn rhwŷstr neu fai cyhoeddus yn ûn o honŷnt, o herwŷdd yr hwn ni ddylid ei gymmerŷd i'r gyssegr-weinidogaeth ymma; Yn Enw Duw, deued allan a dangosed beth ŷw y bai neu rwŷstr.

*¶ Ac os rhŷw fai gorthrwm neu rwŷstr a henwir, yr Escob a arbed urddo y dŷn hwnnw hŷd na chaffer y cyhuddedig yn ddiargyhoedd o'r bai hwnnw.*

*¶ Yna yr Escob [ gan Orchymmŷn y rhai a gaffer yn gymmwŷs i'w hurddo, i weddiau y Gynnulleidfa ] gyda'r Eglwŷswŷr a'r Bobl bresennol a gân neu a ddywed y Litani gyda'r Gweddiau, megis yn Ffurf y Diaconiaid, yn unig yn y cydarch priod yno yr arbedir y gair ( Diaconiaid ) ac a dywedir y gair [ Offeiriaid ] yn ei le ef.*

*¶ Yna a cenir neu a dywedir gwasanaeth y Cymmun gyda'r Colect, Epistol a'r Efengŷl isod.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw, rhoddwr pôb dawn dâ, yr hwn trwŷ dy lân Ysprŷd a osodaist amrŷw raddau o Weinidogion yn yr Eglwŷs, edrŷch yn ddar-

bodus ar dy Wasanaeth-ddynion hŷn a alwŷd yr awr hon i Swŷdd Offeiriadaeth; ac fellu cyflawna hwŷnt a'th wîr athrawiaeth, ac addurna hwŷnt â diniweidrwŷdd Buchedd, fel a bô iddŷnt drwŷ air ac esampl ddâ dy wasanaethu di, yn ffyddlon yn y swŷdd hon, er gogoniant i'th Enw, ac adeiladaeth dy Egwŷs, trwŷ haeddedigaethau ein prynnwr Jesu Grîst; Yr hwn sŷdd yn bŷw ac yn Teŷrnasu gyda thydi a'r Ysprŷd glân yr awr hon ac yn dragywŷdd. *Amen.*

*Yr Epistol.* Ephes. 4. 7. *hŷd. w.* 14.

EIthr i bôb un o honom a rhoed grâs yn ôl mesur dawn Crîst. O herwŷdd pa ham, y mae efe yn dywedŷd pan dderchafodd i'r uchelder, efe a gaethiwodd gaethiwed, ac a roddodd roddion i ddynion. [ Ond, Efe a dderchafodd, beth ŷw ond darfod iddo hefŷd ddiscŷn yn gyntaf i barthau isaf y ddaiar? Yr hwn a ddiscynnodd, ŷw yr hwn hefŷd a escynnodd goruwch yr hôll nefoedd, fel y cyflawnei bôb pêth. ] Ac efe a roddodd rai yn Apostolion, a rhai yn Brophwŷdi, a rhai yn Efangylwŷr, a rhai yn Fugeiliaid, ac yn Athrawon: i berffeithio y Sainct i waith y weinidogaeth, i adeiladu corph Crîst: Hŷd oni ymgyfarfyddom ôll yn undeb ffŷdd a gwŷbodaeth Mâb Duw, yn ŵr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crîst.

¶ *Yna a darllennir am yr Efengŷl ran o'r nawfed Bennod o* S. Matthew, *fel yn canlŷn.* S: Matthew: *9. 36.*

A Phan welodd efe y torfeŷdd, efe a dosturiodd wrthŷnt, am eu bôd wedi blino, a'u gwascaru fel defaid heb ganddŷnt fugail. Yna a dywedodd efe wrth ei ddyscyblion, Y Cynhaiaf yn ddiau sŷdd fawr, ond y gweithwŷr yn anaml. Am hynnŷ attolygwch i Arglwŷdd y cynhaiaf anfon gweith-wŷr i'w gynhaiaf.

¶ *Neu hŷn isod, allan o'r ddegfed Bennod o* S. John. 1. *wers.*

YN wîr, ynwîr, meddaf i chwi, yr hwn nid ŷw yn myned i mewn drwŷ'r drws i gorlan y defaid, ond sŷdd yn dringo ffordd arall, lleidr ac yspeiliwr ŷw. Ond yr hwn sŷdd yn myned i mewn drwŷ'r drŵs, bugail y defaid ydŷw. I hwn a mae y dryssor yn agorŷd, ac a mae y defaid yn gwrando ar ei lais ef: ac a mae efe yn galw ei ddefaid ei hun erbŷn eu henw, ac yn eu harwain hwŷ allan. Ac wedi iddo yrru allan ei ddefaid ei hun, y mae efe yn myned o'u blaen hwŷ: a'r defaid sŷdd yn ei ganlŷn ef, oblegid y maent yn adnabod ei lais ef. Ond y dieithr ni's canlynant, ond ffoant oddiwrtho: oblegid nad adwaenant lais dieithraid. Y ddammeg hon a ddywedodd yr Jesu wrthŷnt: Ond hwŷ ni wŷbuant pa bethau ydoedd y rhai yr oedd efe yn eu llefaru wrthŷnt. Am hynnŷ yr Jesu a ddywedodd wrthŷnt drachefn, Yn wîr yn wîr meddaf i chwi, myfi ŷw drŵs y defaid. Cynnifer ôll ag a ddaethant o'm blaen i, lladron ac yspeil-wŷr ŷnt: ond ni wrandawodd y defaid arnŷnt. Myfi ŷw y drŵs: os â nêb i mewn dwofi, efe a fŷdd cadwedig; ac efe a â i mewn ac allan, ac a gaiff borfa. Nid ŷw lleidr yn dyfod ond i ladradta, ac i ddestrywio, myfi a ddaethŷm fel y caent fywŷd, ac y caent ef yn helaethach. Myfi ŷw'r bugail dâ: Y bugail dâ sŷdd yn rhoddi ei einioes dros y defaid. Ond y gwâs cyflog, a'r hwn nid ŷw fugail, yr hwn nid eiddo y defaid, sŷdd yn gweled y blaidd yn dyfod, ac yn gadel y defaid, ac yn ffoi: A'r blaidd sŷdd yn ei sclyfio hwŷ, ac yn gwascaru y defaid. Y mae'r gwâs cyflog yn ffoi: oblegid mai gwâs cyflog ŷw, ac nid oes ofal arno am y defaid. Myfi ŷw y bugail dâ; ac a adwaen yr eiddof

fi,

fi, ac a'm hadwaenir gan yr eiddo fi. Fel yr edwŷn y Tâd fyfi, fellu yr adwaen inneu y Tad: ac yr ydwŷf yn rhoddi fy enioes dros y defaid. A defaid eraill sŷ gennif, y rhai nid ŷnt ô'r gorlan hon: Y rhai hynnŷ hefŷd sŷ raid i mi eu cyrchu, a'm llais i a wrandawant, a bŷdd un gorlan, ac un bugail.

¶ *Yna yr Escob (yn eistedd yn ei Gadair) a weinydda i bôb ûn o honŷnt y llŵ am uchafiaeth y Brenin, megis y gosodir o'r blaen yn Ffurf Urddo Diaconiaid.*

¶ *Ac wedi hynnŷ, efe a ddywed wrthŷnt.*

CHwychwi a glywsoch Frodŷr, nid yn llai yn eich ecsamiad prifat, nag yn y cyngor a roddwŷd i chwi, ac yn y gyssegr-lân, Llithoedd allan o'r Efengŷl, a Scrifennadau yr Apostolion, y rhŷw uchel fri, ar dirfawr bwŷth sŷdd yn y Swŷdd, i'r hon i'ch galwŷd chwi. Ac yn awr yr ŷm eilchwel yn eich cynghori chwi yn Enw ein Harglwŷdd Jesu Grist, gofio o honoch yn wastad, i ba rŷw uchel barch ac i ba rŷw Swŷdd, a goruchwiliaeth bwŷsfawr i'ch galwŷd chwi; nid amgen, i fôd yn Gennadon, yn Wil-wŷr, ac yn Oruchwŷliwŷr i'r Arglwŷdd; I Athrawu, ac i rag-rybuddio, i borthi, ac i arlwŷo i Deulu yr Arglwŷdd, I geisio defaid Crist a ŷnt ar ddisperod; A'i Blant ef sŷdd ynghanol y Bŷd drygionus hwn, fel y bônt cadwedig trwŷ Grist bŷth bythoedd.

Am hynnŷ bydded yn wastad breintiedig yn eich côf chwi, pa ddirfawr drysor a ymddiriedwŷd i chwi. Canŷs Defaid Crist ydŷnt y rhai a brynnodd efe, trwŷ ei angeu, a thros ba rai a tywalltodd efe ei waed, Ei ddyweddi a'i Gorph ef ŷw'r Eglwŷs a'r Gynnulleidfa a bŷdd rhaid i chwi weini iddi. Ac os digwŷdd i'r unrhŷw Eglwŷs, nag i ûn aelod o honi, oddef dim niwed neu Rwŷstr o achos eich Esceulustra chwi, chwi a wŷddoch faint y bai, ac mor ofnadwŷ hefŷd y dial a ganlŷn.

O herwŷdd pa ham ystyriwch ynoch eich hunain ddiben eich Gweininogaeth i Blant Duw, tuagat ddyweddi a Chorph Crist; ac Edrychwch na bô i chwi bŷth beidio a'ch poen, eich gofal a'ch diwŷdrwŷdd, nes a gorphennoch hŷd eithaf y saif ynoch, y cwbl ôll yn ôl eich rhwŷmedig ddylêd, I ddwŷn cynnifer ôll a ymddiriedwŷd, neu a ymddiriedir tan eich gofal, i gyfrŷw undeb ffŷdd a Gwŷbodaeth am Dduw, ac i'r cyfrŷw addfedwch a pherffeithrwŷdd Oedran yng Hrist, fel na adawer dim lle yn eich mŷsg, nag i amryfusedd Crefŷdd, nag i Ddrygioni buchedd.

Am hynnŷ, yn gymmaint a bôd eich Swŷdd chwi yn Rhagori cymmaint, ac mor anhawdd ei Chyflawni chwi a welwch, a pha faint o ofal ac astudrwŷdd y dylech chwi ymegnio, yn gystal i'ch dangos eich hunain yn wasanaethgar ac yn ddiolchgar i'r Arglwŷdd, yr hwn a'ch gosododd mewn breint-le mor barchus. Ac i ochelŷd hefŷd na bô i chwi eich hunain dramgwŷddo, na bôd yn achos tramgwŷdd i eraill. Etto nad all fôd gennŷch na phryder nag ewŷllŷs i hynnŷ o honoch eich hunain; oblegid Duw ei hun 'sŷdd yn rhoddi yr ewŷllŷs a'r gallu. Chwithau a ddylech, ac angenrhaid i chwi, weddio yn ddifrifol am ei Lân-ysprŷd ef. Ac yn gymmaint ag nad ellwch drwŷ ûn môdd arall graffu ar wneuthur gweithred mor bwŷsfawr, yn hyfforddio Iechŷdwriaeth dŷn, onid trwŷ Athrawiaeth a Chyngor allan o'r Scrythŷr-lân, a thrwŷ fuchedd gŷdunol a'r unrhŷw. Ystyriwch mor astud y dylech fôd ar ddarllain a dyscu'r Scrythyrau, ac ar lunio eich ymddygiad eich hun, ac eiddo'r rhai nesaf o berthŷn i chwi, yn ôl rheol yr unrhŷw Yscrythyrau; Ac o herwŷdd yr ûn achos y

môdd

môdd y dŷlech adel, a bwrw heibio [ hŷd y galloch ] hôll ofalon a thrafferthau'r Bŷd.

A mae gennŷm obaith dâ am danoch, eich bôd chwi er hîr o amser, wedi craff-synied, ac wedi ystyried yn ddâ ynoch eich hunain y pethau hŷn : A'ch bôd wedi gosod eich llwŷr frŷd, trwŷ Râs Duw, i ymroddi yn hollawl tuagat hŷn o bêth ; a thynnu eich gofalon ôll, a'ch astudrwŷdd i'r llwŷbr ymma, Ac a bŷdd i chwi weddio yn ddi-baid ar Dduw'r Tâd drwŷ gyfryngdod ein hunig Iachawdr Jesu Grist, am Nefawl Borth yr Ysprŷd glân ; Fel i'ch gwneler, trwŷ beunŷdd-ddarllain ac ystyried yr Scrythyrau yn rhugclach ac yn rymmusach yn eich Gweinidogaeth.

Ac fel y byddo i chwi o amser bwŷgilŷdd fellu ymegnio a sancteiddio eich bucheddau priod, a bucheddau yr eiddoch, ac iw llunio hwŷnt wrth reol ac Athrawiaeth Crîst i fôd yn ddrychau ac yn esamplau iachol a Duwiol i'r bobl i'w canlŷn.

Ac yn Awr, fel ŷ gallo Cynnulleidfa Crîst sŷdd ymma yn gŷdrychiol wedi ymgasclu ynghŷd, ddeall hefŷd eich meddyliau, a'ch ewŷllŷs yn y pethau hŷn, Ac fel y gallo eich addewid ymma, eich cynhyrfu chwi yn ychwaneg i wneuthur eich dyledswŷddau, chwychwi a attebwch yn Eglur i'r hŷn bethau, a ofynnom i chwi yn Enw Duw a'i Eglwŷs, am yr unrhŷw.

A Ydŷch yn tybied yn eich calon eich bôd yn wîr alwedig yn ôl Ewŷllŷs ein Harglwŷdd Jesu Grist a Threfn Eglwŷs *Loegr*, i Urdd a Gweinidogaeth Offeiriad ?

*Atteb.* Yr wŷfi yn tybied hŷnnŷ.

*Escob.* A Ydŷw yn ddiogel gennŷch fôd yr Yscrythyrau yn cynnwŷs pôb Athrawiaeth angenrheidiol i iechŷdwriaeth Tragywŷddol trwŷ ffŷdd yn Jesu Grist. Ac a ydŷch chwi yn ddianwadal yn arfaethu i athrawiaethu y Bobl a ymddiriedwŷd i'ch golygiaeth allan o'r ûn Scrythyrau ; Ac na ddyscwch ddim ( megis angenrheidiol i iechŷdwriaeth Tragywŷddol ) ond a fo diogel gennŷch y gellir ei gasclu a'i brofi allan o'r Scrythyrau ?

*Atteb.* Y mae yn ddiogel gennif, ac mi a arfaethais fellu trwŷ râs Duw.

*Escob.* A Roddwch chwithau ddiwŷdrwŷdd yn ffyddlawn bôb amser ar finistrio yr athrawiaeth a'r Sacramentau a discyblaeth Crîst, megis y gorchymmynodd yr Arglwŷdd ac ar y môdd y mae'r Eglwŷs a'r Deŷrnas hon wedi derbŷn yr unrhŷw, yn ôl gorchymmynnion Duw, hŷd pan alloch addyscu y Bobl a ddodwŷd tan eich curadiaeth a'ch gorchwŷliaeth, i gadw a gwneuthur yr unrhŷw drwŷ bôb dyfal-bara ?

*Atteb.* Mi a wnâf fellu trwŷ borth yr Arglwŷdd.

*Escob.* A Fyddwch chwi parod drwŷ bôb ffyddlondeb a diwŷdrwŷdd, i ddeol ac i daflu ymaith bôb cyfeiliornus a dieithr Athrawiaeth, a fo yn gwrthwŷnebu Gair Duw ; ac a ymarferwch chwi roddi yn wastad Rybuddiau a Chynghorion Cyhoedd a Dirgel, yn gystal i'r Clâf ac i'r Iâch o fewn eich Curadiaeth megis a byddo'r angen yn gofŷn, ac y rhoddir Achlysur ?

*Atteb.* Mi a wnâf fellu a'r Arglwŷdd yn Gynnorthwŷwr i mi.

*Escob.* A Fyddwch chwi ddyfal mewn Gweddiau, ac ar ddarllain y Cyssegr-lân Yscrythyrau, ac yn y cyfrŷw lafuriau a Myfyriau a Hyfforddiant i wŷbodaeth yr unrhŷw ; Gan ddodi heibio ofal tros y Bŷd a'r Cnawd ?

*Atteb.* Mi a ymegniaf a'r wneuthur fellu a'r Arglwŷdd yn Gynnorthwŷwr i mi.

*Escob.*

*Escob.* A Fyddwch chwi ddiwŷd i lunio a ffurfio eich bucheddau, eich hunain a'ch Teuluoedd wrth Athrawiaeth Crîst; ac i'ch gwneuthur eich hunain a nhwŷthau, hŷd y bô ynoch, yn flaenoriaid ac yn esamplau iachol i ddiadell Crîst?

*Atteb.* Mi am dygaf fy hun at hynnŷ, a'r Arglwŷdd yn Gynnorthwŷwr i mi.

*Escob.* A Ddiffynnwch chwi, ac a hyfforddiwch chwi ddiddigrwŷdd, tangneddŷf a chariad perffaith rhwng pôb mâth o Gristonogion; yn enwedig rhwng y rhai a osodwŷd, neu a osodir tan eich Gorchwŷliaeth chwi?

*Atteb.* Mi a wnâf fellu a'r Arglwŷdd ŷn gynnorthwŷwr i mi.

*Escob.* A Roddwch chwi barch ac ufudd-dod i'ch Ordinari, ac i brîf-swŷddogion eraill yr Eglwŷs, ar y rhai a dodir y gofal drosoch, a'r Llyfodraeth arnoch, gan gyflawni eu cynghorion Duwiol hwŷ yn Llawen ac yn ewŷllysgar, a chan eich darostwng eich hunain i'w Barn Dduwiol hwŷnt?

*Atteb.* Mi a wnâf fellu a'r Arglwŷdd yn gynnorthwŷwr i mi.

¶ *Yna yr Escob o'i sefŷll a ddywed.*

YR Hôllalluog Dduw, yr hwn a roddodd i chwi yr ewŷllŷs i wneuthur y pethau hŷn ôll, a ganiadhao i chwi nerth hefŷd a gallu i gyflawni'r unrhŷw; ac fellu a berffeithio ei waith a ddechreuodd ynoch: Trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

¶ *Yna fe ddymunir ar y gynnulleidfa, pôb ûn yn ei ddirgel weddiau, wneuthur eu herfyniau yn ostyngedig ar Dduw am y pethau hŷn: I'r cyfrŷw Weddiau fe a gednir distawrwŷdd dros encŷd.*

¶ *Ar ôl hynnŷ y Cenir neu y dywedir gan yr Escob [ a'r rhai, a Urddir yn Offeiriaid, bôb ûn ar eu gliniau,* ] Veni Creator Spiritus; *yr Escob yn dechreu, a'r Offeiriad ac eraill cydrychiol yn atteb bôb yn ail wers, fel hŷn.*

TYred Yspryd glân i'n calonnau ni,
*A dôd dy oleuni nefol.*
Tydi wŷt Yspryd Crîst, dy ddawn
*Sŷ fawr iawn a rhagorol.*
Llawenŷdd, bywŷd, cariad pur
*Ydŷnt dy eglur ddoniau.*
Dôd eli'n llygaid mal i'th saint
*Ac ennaint i'n hwŷnebau.*
Gwasgar ein gelynion trŵch
*A heddwch dyro i ni.*
Os tywŷsog i ni fŷdd Duw nêr
*Pôb pêth fŷdd er daioni.*
Dŷsc i ni adnabod y Duw Tâd
*Y gwîr Fâb rhâd a thithau.*
Yn un tragywŷddol Dduw i fôd
*Yr hynod dri phersonau.*
Fel y dywedir ym-mhôb oes
*Y Duw a roes drugaredd.*
Y Tâd, y Mâb, a'r Yspryd glân,
*Dâ datcan ei anrhydedd.*

¶ *Neu hŷn.*

TYred Yspryd glân tragywŷddol
yr unrhŷw ar Tâd nefol, (Dduw,
*Yr unrhŷw hefŷd a'r Mâb rhâd,*
*Duw cariad tangeddysol.*
Llewŷrcha'n c'lonnau ni â'th râs
fel byddo gâs i'n bechu,
*Ac i ni mewn sancteiddrwŷdd rhŷdd,*
*bôb dŷdd dy wasanaethu.*
Y diddanudd wŷt ti yn wîr,
ym-mhôb rhŷw hîr orthrymder,
*Dy hôll ddiaoni di â'th glôd,*
*â thafod, ni adrodder.*
Y ffynnon i'r llawenŷdd glân
y gloŷw-lwŷs dân cariadol,
*Ac i'r enneiniaid mawr ei lês*
*sŷ'n rhoddi gwrês Ysprydol.*
Dy ddoniau aml ŷnt a dwŷs
y rhai i'th Eglwŷs rhoddi.

*Ynghalonnau pur, dy ddeddf ddilys*
*tydi a'th fys 'scrifenni.*
Tydi addewaist ddyscu, Iôn
dy weision i lefaru.
*Fel ym-mhôb man y caffo'n rhwydd*
*yr Arglwydd i foliannu*
O Yspryd glân i'n calon ni
y gwîr oleuni danfon,
*A hefyd zel tra fom ni byw,*
*i garu Duw yn ffyddlon.*
Ein gwendid nertha di, O Dduw,
mawr ydyw ein breuolder:
*I ddiafol, i'r byd, nac chwaith i'r cnawd,*
*na fyddom wawd un amser.*
Gyrr ein gelynnion yn eu hol
bydd di heddychol a ni.
*Gwnâ i bôb dyn ein caru'n bur*
*mael eglur a fydd hynny.*
Ein tywysog wyt, O Arglwydd mau
rhag maglau pob rhyw bechod.
*A rhag llithro oddiwrthit mwy*
*cynnorthwy bydd i'n barod.*
Dôd fesur mawr o'th râs yn rhwydd
O Arglwydd Dduw goruchaf.
*Diddanwch i ni fellu a bydd,*
*yn y brawd ddydd diweddaf.*
I ffoi ymbleidiau ceccreth câs
dôd i râs Duw nefol.
*Dôd gariad a thangneddyf mâd,*
*ym-mhôb rhyw wlâd Gristnogol.*
Attolwg i ti dyro rád,
y Tâd i ni adnabod.
*A'r Arglwydd Iesu ei Fâb hael*
*ac yn y nêf cael canfod.*
A chyffesu â pherffaith ffydd
dydi bôb dydd yn ddiau.
*Yspryd y Tâd a'r Mâb wyt ti,*
*un Duw ond trî pherfonau.*
I'r Tâd, i'r Mâb, i'r Yspryd dâ
un gogyd a gogyfuwch.
*Bydd moliant: hwn yw'r gwîr Dduw nêf,*
*ei enw ef bendithiwch.*
A bydd i'n unig Arglwydd Dduw
bod gwiw ganddo roi'n hylwydd;
*I bôb rhyw Gristion yn y byd*
*ei Yspryd yn dragywydd.*

¶ *Gwedi hynny, yr Escob a weddia yn y môdd hwn, ac a ddywed.*

¶ Gweddiwn.

HOll-alluog Dduw nefol Dâd, yr hwn o'th anfeidrol Gariad a serch arnom, a roddaist dy unig ac Anwylaf Fab Jesu Grîst i'n prynnu, ac i fod yn Awdwr i ni o fywyd tragywyddol: Yr hwn wedi iddo Berffeithio ein prynnedigaeth ni drwy ei angeu, ac Escyn o hono i'r Nefoedd, a anfonodd allan i'r Byd Apostolion, Prophwydi, Efangylwyr, Athrawon, a Bugeiliaid, trwy Lafur a Gweinidogaeth y rhai a gasclodd ynghyd liosog ddiadell ymhob goror o'r Byd, i ddatcan tragywyddol Fawl ei Enw Bendigedig: Am y rhai hyn, mawr ddonniau dy dragywyddol Ewyllysgarwch; Ac am deilyngu o honot alw dy wasanaeth-ddynion hyn ymma yn gydrychiol, i'r unrhyw Swydd a Gweinidogaeth a osodaist er mwyn iechydwriaeth dyn, Nyni a roddwn i ti ffyddlonaf ddiolch, nyni a'th foliannwn, ac a'th Addolwn; Ac yn ostyngedig yr attolygwn i ti, Trwy yr ûn dy fendigedig Fab, Caniadhau i bawb a alwant ar dy Enw Sanctaidd, ymma, ac ymhob man arall, allu dal allan i ymddangos yn ddiolchgar i ti, am y rhai hyn ac oll eraill dy fendithion; A chynnyddu beunydd, a myned rhagom mewn Gwybodaeth a ffydd ynot ti a'th Fab, drwy'r Yspryd glân: Fel yn gystal drwy dy weinidogion hyn, a thrwy eraill tros ba rai a gosoder hwy yn weinidogion, a Gogonedder dy Enw sanctaidd, yn dragywydd: Ac yr ehanger dy Fendigedig Deyrnas; Trwy'r ûn dy Fab Jesu Grîst ein Harglwydd, yr hwn sy'n byw ac yn teyrnasu gyda thi yn undeb yr ûn Yspryd glân, yn oes oesoedd. *Amen.*

¶ *Pan ddarffo y weddi hon, yr Escob gyda'r Offeiriaid cydrychiol a ddodant eu Dwylo*

*ar Ben pôb ûn a fo yn derbŷn Urdd Offeiriadaeth: y derbynnŵyr yn gostwng yn ufudd ar eu gliniau, a'r Escob yn dywedŷd.*

DErbŷn di ŷr Ysprŷd glân i swŷdd a Gwaith Offeiriad o fewn Eglwŷs Dduw, yr hon swŷdd a roddir i ti yr awr hon drwŷ Arddodiad ein Dwŷlo ni. I bwŷ bynnag a maddeuech di eu pechodau, maddeuir iddŷnt; Ac i bwŷ bynnag yr attaliech di eu pechodau, hwŷ a attalwŷd. A bŷdd di Orchwŷliwr ffyddlon Gair Duw a'i Lân Sacramentau, yn Enw y Tad, a'r Mâb, a'r Ysprŷd glân. *Amen.*

¶ *Yna, a hwŷ etto ar eu gliniau yr Escob a Ddŷd y Bibl i bôb un o honŷnt yn eu llaw, gan ddywedŷd.*

BYdded i ti Awdurdod i Bregethu Gair Duw, ac i Finistrio y Sacramentau Bendgedig, yn y Gynnulleidfa lle i'th osodir yn Gyfreithlawn i hynnŷ.

¶ *Pan ddarffo hŷn, Credo Cymmanfa Nicen a genir neu a ddywedir. A'r Escob wedi hynnŷ a aiff rhagddo ar wasanaeth y Cymmun, yr hwn y rhai ôll a dderbŷniant Urddau, a Gymmunant ynghŷd, ac a arhosant yn yr un man lle y dodwŷd Dwŷlo arnŷnt, hŷd oni ddarffo iddŷnt gymmerŷd y Cymmun.*

¶ *Pan ddarffo y Cymmun, ar ôl y Colect diweddaf, ac yn nesaf o flaen y fendith y dywedir y Colectau hŷn.*

TRugarogcaf Dad, ni a attolygwn i ti anfon dy nefol Fendith ar dy wasanaeth-ddynion hŷn, fel y Gwiscer hwŷ ag Iawnder; Dyro y cyfrŷw lwŷddiant i'th air yn eu geneuau hwŷnt, fel nad elo eu lleferŷdd ûn amser yn ofer. Caniadhâ hefŷd i ni Râs i wrando a derbŷn yr hŷn a lefarant allan o'th sancteiddiaf Air, neu yn gyson iddo megis yn llwŷbr i'n iechŷdwriaeth, fel yn ein hôll eiriau a Gweithredoedd y ceisiom dy ogoniant di, a Chynnŷrch dy Deŷrnas, Trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

RHag-flaena ni O Arglwŷdd, yn ein hôll weithredoedd, â'th radlonaf hoffder, a rhwŷddha ni â'th barhaus gymmorth, fel yn ein hôll weithredoedd dechreuedig, anherfŷnedig, a therfŷnedig, ynoti, a gallom foliannu dy sanctaidd enw ac yn y diwedd cael gan dy drugaredd fywŷd tragywŷddol, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

TAngneddŷf Dduw yr hwn sŷdd uwchlaw pôb deall, a gadwo eich calonnau a'ch meddyliau yngwŷbodaeth a chariad Duw a'i Fâb Jesu Grîst ein Harglwŷdd. A bendith Dduw Hôllalluog, y Tad, y Mâb, a'r Ysprŷd glân a fyddo i'ch plîth, ac â drigo gyda chwi yn wastad. *Amen.*

¶ *Ac os rhoddir grâdd* Diaconiaid *i rai, ac i eraill Urdd Offeiriadaeth yn yr un dŷdd; y Diconiaid a bresentir yn gyntaf, yna yr Offeiriaid: Ac fe a wasanaetha darllen y Litani unwaith i'r ddau: Dyweder Colectau pôb un; y cyntaf tros y Diaconiaid, yna y llall tros yr Offeiriaid.*

*Yr epistol a fydd,* Ephes. 4. 7, *hŷd w.* 14. *Megis uchod yn y Drefn hon yn nesaf ar ôl yr hon, y rhai a wneir yn Ddiaconiaid, a gymmerant y Llŵ o Uchafiaeth, yr ecsemir, ac yr Urddir hwŷ, megis ac y rhag-osodwŷd uchod. Ac yna wedi i un o honŷnt ddarllain yr Efengŷl [ yr hon a fŷdd naill ai allan o S.* Matth. 9. 30---38. *ai S.* Luc. 12. 35---39. *Megis uchod yn y Ffurf am urddo Diaconiaid. Y rhai a wneir yn Offeiriaid yn yr un môdd a gymmerant Llŵ yr Uchafiaeth, a ecsemir, ac a Urddir, megis y gosodir yn y Gwasanaeth uchod.*

**Ffurf Urddo neu Gysegru Arch-Escob, neu Escob; Yr hyn a wneir yn wastad ar ryw Ddydd-Sul neu Ddydd-Gwyl.**

*Pan so pôb pêth wedi ei arlwŷo yn weddus, a'i osod mewn Trefn yn yr Eglwŷs, pan orphenner y Gwasanaeth Boreu, yr Arch-Escob ( neu rŷw Escob arall a Awdurdodwŷd i hynnŷ, ) a ddechreu wasanaeth y Cymmun, a hwn sŷdd.*

*Y Colect.*

HOll-alluog Dduw, yr hwn trwŷ dy Fâb Jesu Grîst a rhoddaist amrŷw ddoniau godidog i'th sanctaidd Apostolion, ac a orchymmŷnaist iddŷnt borthi dy Braidd: Dyro Râs ni attolygwn i ti, i hôll Escobion a Bugeiliaid dy Eglwŷs i Bregethu dy Air yn ddyfal, ac i Finistrio eu duwiol ddyscyblaeth yn ddyledus, A chaniadha i'th Bobl Râs i ganlŷn yr unrhŷw yn ostyngedig: Fel y bo i ni eu gŷd dderbŷn Coron y Gogoniant tragywŷddol, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. *Amen.*

¶ *Ac Escob aroll a dderllŷn.*

*Yr Epistol.* 1 Tim. 3. 1.

GWîr ŷw'r gair, od ŷw nêb yn chwennŷch swŷdd Escob, gwaith dâ a mae yn ei chwennŷch. Rhaid gan hynnŷ i Escob fôd yn ddiargyoedd, yn ŵr un wraig, yn wiliadwrus, yn sobr, yn weddaidd, yn lletteugar, *yn* athrawaidd: Nid yn wîn-gar, nid yn darawydd, *nid* yn budr-elwa: Ond yn dirion, yn anymladdgar, yn ddi-ariangar: *Yn* llyfodraethu ei dŷ ei hun yn ddâ, yn dal ei blant mewn ufudd-dod, ynghŷd a phôb gonestrwŷdd: ( Oblegid oni feidr un lyfodraethu ei dŷ ei hun, pa fôdd y cymmer efe ofal dros Eglwŷs Dduw? ) Nid yn newŷddian yn y ffŷdd, rhag iddo ymchwŷddo, a syrthio i ddamnedigaeth diafol. Ac a mae yn rhaid iddo ef hefyd gael tystiolaeth ddâ gan y rhai oddiallan: Rhag iddo syrthio i wradwŷdd, ac i fagl diafol.

*Neu hŷn yn lle'r Epistol* Actau 20. 17.

AC o Miletus efe a anfonodd i Ephesus, ac a alwodd atto Henuriaid yr Eglwŷs. A phan ddaethant atto, efe a ddyweddodd wrthŷnt, Chwi a wŷddoch er dŷdd cyntaf y daethŷm i Asia, pa fôdd y bum i gyda chwi dros yr hôll amser. Yn gwasanaethu yr Arglwŷdd gyda phôb gostyngeiddrwŷdd, a llawer o ddagrau, a phrofedigaethau; y rhai a ddigwŷddodd i mi trwŷ gynllwŷnion yr Iddewon. Y modd nad atteliais ddim o'r pethau buddiol heb eu mynegu i chwi, a'ch dyscu ar gyhoedd, ac o dŷ i dŷ. Gan dystiolaethu i'r Iddewon, ac i'r Groegiaid hefŷd, yr edifeirwch sŷdd tuagat Dduw, *a*'r ffŷdd sŷdd tuagat ein Harglwŷdd Jesu Grîst. Ac yn awr, wele fi yn rhwŷm yn yr Ysprŷd yn myned i Jerusalem, heb wŷbod y pethau a ddigwŷdd i mi yno. Ond bôd yr Ysprŷd glân yn tystio i mi ymhôb dinas, gan ddywedŷd, fôd rhwŷmau a blinderau yn fy aros. Ond nid wŷfi yn gwneuthur cyfrif o ddim, ac nid gwerthfawr gennif fy einioes fy hun, os gal*las* orphen fy ngyrfa trŷw lawenŷdd, a'r weinidogaeth a dderbyniais gan yr Arglwŷdd Jesu, i dystiolaethu Efengŷl grâs Duw. Ac yr awron, wele, mi a wn na chewch ôll [ ymmŷsc y rhai y bum i yn trammwŷ, yn pregethu teŷrnas Dduw ) weled fy wŷneb i mwŷach. O herwŷdd pa ham, yr ydwŷf yn tystio i chwi y dŷdd heddŷw, fy môd i yn lân oddiwrth waed pawb ôll. Canŷs nid ymatteliais rhag mynegu i chwi hôll

gŷngor Duw. Edrychwch, gan hynnŷ, arnoch eich hunain; ac ar yr holl braidd, ar yr hwn y gosododd yr Yspryd glân chwi yn olygwŷr, i fugeilio Eglwŷs Dduw, yr hon a bwrcasodd efe â'i briod waed. Canŷs mysi a wn hŷn, y daw yn ôl fy ymadawiad i, fleiddiau blinion i'ch plîth, heb arbed y praidd. Ac o honoch chwi eich hunain y cyfŷd gwŷr yn llefaru pethau gŵŷr-draws, i dynnu dyscyblion ar eu hôl. Am hynnŷ gwiliwch a chofiwch, dros dair blynnedd na pheidiais i nôs a dŷdd a rhybuddio pôb un o honoch â dagrau. Ac yr awr hon frodŷr, yr ydwŷf yn eich gorchymmŷn i Dduw, ac i air ei râs ef, yr hwn a all adeiladu chwaneg, a rhoddi i chwi etifeddiaeth ymhlîth yr hôll rai a sancteiddwŷd. Arian, neu aur neu wîsg nêb, ni chwennychais. Ie chwi a wŷddoch eich hunain ddarfod i'r dwŷlo hŷn wasanaethu i'm cyfreidiau i, ac i'r rhai oedd gyda mi. Mi a ddangosais i chwi bôb pêth, mai wrth lafurio fellu y mae yn rhaid cynnorthwŷo y gweiniaid, a chofio geiriau yr Arglwŷdd Jesu; ddywedŷd o honaw ef, mai dedwŷdd ŷw rhoddi yn hytrach na derbŷn.

¶ *Yna Escob arall a dderllŷn yr Efengŷl S.* Ioan. 21. 15.

YNa gwedi iddŷnt giniawa, yr Jesu a ddywedodd wrth Simon Peter, Simon mâb Jona, a wŷt ti yn fy ngharu i yn fwŷ na'r rhai hŷn? Dywedodd yntef wrtho ydwŷf Arglwŷdd; ti a wŷddost fy môd yn dy garu di. Dywedodd ynteu wrtho. Portha fy ŵŷn. Efe a ddywedodd wrtho drachefn yr ailwaith, Simon mâb Jona, a wŷt ti yn fy ngharu i? Dywedodd yntef wrtho. Ydwŷf Arglwŷdd: Ti a wŷddost fy môd yn dy garu di. Dywedodd yuteu wrtho, Bugeilia fy nefaid. Efe a ddywedodd wrtho y drydedd waith, Simon mâb Jona, a wŷt ti yn fy ngharu i? Peter a dristaodd am iddo ddywedŷd wrtho y drydedd waith, A wŷt ti yn fy ngharu i? ac efe a ddywedodd wrtho, Arglwŷdd, ti a wŷddost bôb pêth; ti a wŷddost fy môd i yn dy garu di. Yr Jesu a ddywedodd wrtho, Portha fy nefaid.

*Neu hon S.* Joan. 20. 19.

YNa, a hi yn hŵŷr, y dŷdd cyntaf hwnnw o'r wŷthnos, a'r drysau yn gaead, lle yr oedd y dyscyblion wedi ymgasclu ynghŷd, rhag ofn yr Iddewon, daeth yr Jesu, ac a safodd yn y canol, ac a ddywedodd wrthŷnt, Tangneddŷf i chwi. Ac wedi iddo ddywedŷd hŷn, efe a ddangosodd iddŷnt ei ddwŷlo, a'i ystlŷs. Yna'r dyscyblion a lawenychasant, pan welsant yr Arglwŷdd, Yna y dywedodd yr Jesu wrthŷnt drachefn, Tangneddŷf i chwi: megis y danfonodd y Tad fi, yr wŷf finneu yn eich danfon chwi. Ac wedi iddo ddywedŷd hŷn, efe a anadlodd arnŷnt, ac a ddywedodd wrthŷnt, Derbŷniwch yr Yspryd glân. Pwŷ bynnag a maddeuoch eu pechodau, maddeuir iddŷnt: a'r eiddo pwŷ bynnag, a attalioch, hwŷ a attalwŷd.

*Neu hon. S.* Matth. 28. 19.

EWch gan hynnŷ, a dyscwch yr hôll genhedloedd, gan eu bedyddio hwŷ yn enw'r Tâd, a'r Mab, a'r Yspryd glân: Gan ddyscu iddŷnt gadw pôb pêth a'r a orchymynnais i chwi: Ac wele, yr ydwŷfi gyda chwi bôb amser, hŷd ddiwedd y bŷd. *Amen.*

*Ar ôl* Efengŷl, *a Chredo Cymmanfa Nicen, pan orphenner y Bregeth, yr etholedig* Escob *(wedi ei ymwisco a'i Wenwisc) a Bresentir gan ddau Escob i Arch-Escob y Dalaith honno, [neu i ryw Escob arall a appwŷntiwŷd trwŷ Awdurdod Gyfreithlawn] yr Arch-Escob yn eistedd*

*yn ei Gadair gerllaw y Bardd Bendigedig, a'r Escobion a fo yn ei Bresentio ef yn dywedyd.*

ANrhydeddusaf Dâd yng-Hrîst yr ŷm ni yn presentio i chwi y gŵr Duwiol a dyscedig hwn, i'w Urddo a'i Gyssegru yn Escob.

*Yna a gofyn yr Arch-Escob am Fandat y Brenin am ei Gyssegru ef, ac a bair ei ddarllain, a'r Llw am gydnabod Uchafiaeth y Brenin a Finistrir i bôb Etholedig Escob, megis y gosodir uchod yn y Ffurf am wneuthur Diaconiaid, ac yna a Ministrir hefyd iddynt y Llw o Ufudd-dod dyledus i'r Arch-Escob, fel a mae yn canlyn.*

*Y llw o ufudd-dod dyledus i'r Arch-Escob.*

YN enw Duw, Amen. yr wyfi N. etholedig yn Escob Eglwŷs a Chadair N. yn proffesu ac yn addaw pôb dyledus barch ac Ufudd-dod i'r Arch-Escob ac i'r Fam-Eglwŷs o N. ac i'w Successoriaid; mal yr helpio Duw fi trwŷ Jesu Grîst.

¶ *Ni ddodir y Llw hwn ar Gyssegriad Arch-Escob.*

¶ *Yna yr Escob a grybwyll wrth y Gynulleidfa bresennol am weddio, gan ddywedŷd wrthynt fel hyn.*

FY Mrodŷr, y mae yn scrifennedig yn Efengŷl S. Luc, I'n Harglwŷdd Jesu Grîst barhau ar hŷd y nôs yn Gweddio Duw, cŷn iddo Ethol ac anfon allan ei ddeuddeg Apostolion. Fe scrifennir hefŷd yn Actau yr Apostolion, fôd i'r Dyscyblion y rhai oedd yn Antiochia, ymprydio a Gweddio, cŷn iddynt ddodi eu dwŷlo ar Paul a Barnabas, a'u gollwng ymaith, Gadewch i ninnau gan ganlŷn esampl ein Iachawdwr a'i Apostolion, yn gyntaf pêth weddio, cŷn i ni gymmerŷd a danfon allan y Gŵr hwn a bresentiwŷd i ni, I'r gwaith i'r hwn y mae ein gobaith fôd yr Ysprŷd glân wedi ei alw ef.

¶ *Yna a dywedir y Litani megis uchod yn y Ffurf am wneuthur Diaconiaid; yn unig ar ôl,* Teilyngu o honot lewŷrchu yr hôll Escobion, &c. *y cydarch priod yno a arbedir ac yn ei le ef a gymmerir hwn.*

TEilyngu o honot fendigo ein etholedig frawd hwn, a thywallt arno dy Râs fel y gallo iawn gyflawni y swŷdd i'r hon a galwŷd ef, er Adeiladaeth dy Eglwŷs, ac er anrhydedd, mawl a Gogoniant dy enw.

*Atteb.* Ni a Attolygwn i ti ein gwrando, Arglwŷdd Daionus.

¶ *Yna a dywedir y Weddi don sŷ'n canlŷn.*

HOll-alluog Dduw, rhoddwr pôb dawn dâ, yr hwn trwŷ dy lân Ysprŷd a osodaist amrŷw raddau o Weinidogion yn yr Eglwŷs, edrŷch yn ddarbodus ar dy wasanaeth-ŵr hwn, a elwir yr awr hon i waith a Gweinidogaeth Escob: Ac fellu cyflawna ef a'th wîr athrawiaeth, ac addurna ef a diniweidrwŷdd Buchedd, fel y gallo yn gystal drwŷ air, a gweithred dy wasanaethu di, yn y swŷdd hon, yn ffyddlon i ogoniant dy Enw, ac i adail ac iawn-lywodraeth dy Eglwŷs, trwŷ Ryglyddon ein Iachawdr Jesu Grîst; Yr hwn sŷ'n bŷw âc yn Teŷrnasu gyda thi a'r Ysprŷd glân bŷth bythoedd. Amen.

¶ *Yna yr Arch-Escob yn eistedd yn ei Gadair, a ddywed wrth [y] hwn a Gyssegrir.*

FY Mrawd, yn gymmaint a bôd yr Scrythŷr lân, a'r hên Ganonau yn erchi na byddom prysur i Arddodi dwŷlo, na gollwng nêb i lywodraethu yn Eglwŷs Grîst. yr hon a bwrcasodd efe a gwerth nid llai, na thywalltiad ei briod waed: Cŷn i mi eich cymmerŷd chwi i'r Weinidogaeth hon, myfi a'ch

a'ch holaf chwi ar ſŷrn o byngciau er mwŷn gallu o'r gynnulleidfa gael bwriadu a dwŷn Tyſtiolaeth am y môdd yr ydŷch yn prawf ymddwŷn yn Eglwŷs Dduw.

A Ydŷw yn ddiogel gennŷch eich galw yn ddyledus i'r Weinidogaeth hon, yn ôl ewŷllŷs ein Harglwŷdd Jeſu Grîſt, ac yn ôl Trefn y Deŷrnas hon?

*Atteb.* Y mae hynnŷ yn ddiogel gennif.

*Arch-Eſcob.*

A Ydŷw yn ddiogel gennŷch fôd yr Scrythŷr lân yn cyflawn-gynnwŷs pob Athrawiaeth angenrheidiol i Iechŷdwriaeth tragywŷddol, drwŷ ffŷdd yn Jeſu Grîſt Ac a ydŷw eich llawn-frŷd chwi, i addyſcu y Bobl, a ymddiriedwŷd i'ch cadwraeth, allan o'r unrhŷw Scrythŷr lân; Ac na bo i chwi nag athrawiaethu, na diffŷn dim megis angenrheidiol i iechŷdwriaeth tragywŷddol, ond yr hŷn y bo diogel gennŷch a gellir ei dynnu a'i brofi drwŷ'r unrhŷw.

*Atteb.* Y mae yn ddiogel gennif, ac y mae fy llawn frŷd ar hynnŷ trwŷ râs Duw.

*Arch-Eſcob.*

A Ymarferwch chwithau eich hun yn yr yſcrythŷr lân hon, ac ymbil drwŷ weddi ar Dduw am gael gwîr ddirnad yr unrhŷw, hŷd onid alloch drwŷddi addyſcu, a chynghori ac athrawiaeth iachol, a gwrth-ſefŷll, ac argyoeddi y Gwrth-ddadleu-wŷr?

*Atteb.* Mi a wnâf fellu gyda help Duw.

*Arch-Eſcob.*

A Ydŷch chwi barod a phôb diwŷdrwŷdd ffyddlon, i ddeol a tharfu hwnt bôb amryfuſedd ac athrawiaeth ddieithr yngwrthwŷneb i air Duw, ac i gymmell eraill, a'u cadarnhau i hynnŷ, yn y dirgel ac yn amlwg?

*Atteb.* Yr wŷf yn barod a'r Arglwŷdd yn gynnorthwŷwr i mi.

*Arch-Eſcob.*

A Wedwch chwi bôb annuwioldeb a thrachwant bydol, ac a fucheddwch chwi yn ſobr, yn Gyfiawn ac yn dduwiol yn y bŷd preſennol hwn, fel ymhob pêth yr ymddangoſoch chwi i eraill yn eſampl o weithredoedd dâ, fel y gwradwŷdder y gwrthwŷnebwr, môdd na chaffo ddim i'w ddywedŷd i'ch erbŷn?

*Atteb.* Mi a wnâf fellu, a'r Arglwŷdd yn Gynnorthwŷwr i mi.

*Arch-Eſcob.*

A Ddiffynnwch ac a hyfforddiwch chwi, hŷd y ſafo ynoch, ddiſtawrwŷdd, cariad perffaith, a thangneddŷf ym mŷſc pawb ôll? A geryddwch, ac a goſpwch chwi, y rhai aflonŷdd, anufudd, a beius o fewn eich Eſcobaeth, yn ôl yr awdurdod 'ſŷdd i chwi yngair Duw, ac hŷd y rhoddir i chwi drwŷ Ordinhâd y Deŷrnas hon?

*Atteb.* Mi a wnâf fellu gyda help Duw.

*Arch-Eſcob.*

A Fyddwch chwi ffyddlon i Urddo, danfon allan, a dodi dwŷlo ar eraill?

*Atteb.* Mi a fyddaf fellu trwŷ help Duw.

*Arch-Eſcob.*

A Ymddygwch chwi yn addfwŷn, ac yn drugarog i'r tlawd a'r anghenus, ac i bôb dieithriaid digarad?

*Atteb.* Mi a ymddyga fellu trwŷ help Duw.

¶ *Yna yr Arch-Eſcob o'i ſefŷll a ddywed.*

HOll-alluog Dduw, ein Tâd nefol, yr hwn a roddodd i chwi ewŷllŷs parod i wneuthur y pethau hŷn ôll, a ganiadhao i chwi nerth hefŷd a gallu i'w cyflawni, fel ag efe yn perffeithio

ynoch

ynoch y gwaith a ddechreuodd, y caffer chwi yn berffaith ac yn ddiargyoedd yn y dŷdd diweddaf, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. A*men.*

¶ *Yna yr* Etholedig *Escob a ddŷd am dano y wisc* Escobaeth, *ac efe yn gostwng ar ei Liniau y Cenir neu y dywedir uwch ei Ben* Veni Creator Spiritus; *yr Arch-Escob yn dechreu, a'r Escobion eraill cŷd-rychiol yn atteb yn werſau, fel hŷn.*

TYred Yſprŷd glân i'n calonnau ni,
*A dôd dy oleuni neſol.*
Tydi wŷt Yſprŷd Crîſt, dy ddawn
*Sŷ fawr iawn a rhagorol.*
Llawenŷdd, bywŷd, cariad pur
*Ydŷnt dy eglur ddonniau.*
Dôd eli'n llygaid mal i'th ſainct
*Ac ennaint i'n hwŷnebau.*
Gwaſgar ein gelynion trwch
*A heddwch dyro i ni.*
Os tywŷſog i ni fŷdd Duw nêr
*Pôb pêth fŷdd er daioni.*
Dŷſc i ni adnabod y Duw Tâd
*Y gwîr Fâb rhâd a thitheu.*
Yn un tragywŷddol Dduw i fôd
*Yr hynod dri pherſonau*
Fel y dyweder ym-mhôb oes
*Y Duw a roes drugaredd.*
Y Tâd, y Mâb, a'r Yſprŷd glân,
*Dâ datcan ei anrhydedd.*

¶ *Neu hon.*

TYred Yſprŷd glân, tragwyddol
yr unrhyw ar Tâd nefol, [Dduw,
*Yr unrhŷw hefŷd a'r Mâb rhâd,*
*Duw cariad tangneddyfol.*
Llewŷrcha'n c'lonnau ni a'th râs
fel byddo gâs i'n bechu
*Ac i ni mewn ſancteiddrwŷdd rhŷdd,*
*bôb dŷdd dy waſanaethu.*
Y diddanudd wŷt ti yn wîr,
ym-mhôb rhŷw hîr orthrymder,
*Dy hôll ddaioni di a'th glôd*
*â thafod, ni adrodder.*

Y ffynnon i'r llawenŷdd glân
y gloŷw-lwŷs dan cariadol,
*Ac i'r enneiniaid mawr ei les*
*ſŷ'n rhoddi gwrês Yſprydol.*
Dy ddoniau aml ŷnt, a dwŷs
y rhai i'th Eglwŷs rhoddi.
*Ynghalonnau pur, dy ddeddf ddilŷs*
*tydi a'th fŷs 'ſgrifenni.*
Tydi addewaiſt ddyſcu, Iôn
dy weiſion i lefaru.
*Fel ym mhôb man y caffo'n rhwŷdd,*
*yr Arglwŷdd ei foliannu.*
O Yſpryd glân, i'n calonnau ni
y gwîr oleuni danfon.
*A hefŷd zel tra fôm ni bŷw,*
*i garu Duw yn ffyddlon.*
Ein gwendid nertha di O Dduw,
mawr ydyw ein breuolder:
*I ddiafol, i'r bŷd, nag chwaith i'r cnawd,*
*na fyddlom nawd un amſer.*
Gyrr ein gelynnion yn eu hôl
bydd di heddychol a ni.
*Gwna i bôb dŷn ein caru'n hûr*
*mael eglur a fŷdd hynnŷ.*
Ein Twŷſog wŷt, O Arglwŷdd mau
rhag maglau pôb rhŷw bechod.
*A rhag llithro oddiwrthit mwŷ*
*cynnorthwŷ bŷdd i'n barod.*
Dod feſur mawr o'th râs yn rhwŷdd,
O Arglwŷdd Dduw goruchaf.
*Diddanwch i ni fellu y bŷdd,*
*yn y brawd-ddŷdd diweddaf.*
I ffoi ymbleidiau cecereth câs
dôd i ni râs Duw nefol.
*Dôd gariad a thangneddŷf mâd*
*ym-mhôb rhŷw wlâd Griſtnogol.*
Attolwg i ti dyro râd
y Tâd i ni adnabod.
*A'r Arglwŷdd Ieſu ei Fâb hael*
*ac yn y nêf cael canfod.*
A chyffeſu a pherffaith ffŷdd
dydi bôb dŷdd yn ddieu.
*Yſprŷd y Tâd ar Mâb wŷt ti*
*un Duw, ond tri pherſonau.*

I'r Tâd, i'r Mâb, i'r Yspryd dâ
un gogŷd a gogyfuwch.
*Bŷdd moliant : hwn ŷw'r gwîr Dduw nêf*
*ei enw ef bendithiwch.*
A bŷdd i'n unig Arglwŷdd, Dduw
bod gwiw ganddo roi'n hylwŷdd.
*I bôb rhŷw Gristion yn y bŷd*
*ei Yspryd yn dragywŷdd.*

¶ *Pan orphenner y gân, yr Arch-Escob a ddywed.*

Arglwŷdd clŷw ein Gweddi.
*Atteb.* A deled ein llêf atat ti.

¶ *Gweddiwn.*

HOll-alluog Dduw a thrugarogcaf Dâd, yr hwn o'th anfeidrol ewyllysgarwch a roddaist dy unig ac anwŷlaf Jesu Grîst, i'n prynnu; ac i fôd yn awdwr i ni o fywŷd tragywŷddol: yr hwn wedi iddo gyflawni ein prynedigaeth drwŷ ei angeu, ac escŷn o hono i'r Nefoedd, a dywalltodd ar ddynion ei ddoniau yn lluosawg gan wneuthur rhai yn Apostolion, eraill yn Brophwŷdi, eraill yn Efangylwŷr, eraill yn Fugeiliaid ac Athrawon tuagat Adeiladaeth a pherffeithio ei Eglwŷs: Caniadha, ni attolygwn i ti y cyfrŷw râs i'th wasanaethŷdd hwn, fel y byddo parod yn wastad i danu ar lêd dy Efengŷl, sef, y newŷdd llawen o'n cymmod a thydi, ac ymarfer yr Awdurdod a roddir iddo, nid i ddistrŷw, ond i iechŷdwriaeth; nid er sarhaad ond er porth; fel megis Gwâs doeth a ffyddlawn yn rhoddi i'th deulu di eu cyfran yn ei brŷd, fel y caffo yn y diwedd ei dderbŷn i lawenŷdd tragywŷddol, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd, yr hwn gyda thi a'r Yspryd glân sŷ'n bŷw ac yn teŷrnâsu yn ûn Duw heb drangc na gorphen. A*men.*

¶ *Yna yr Arch-Escob a'r Escobion cŷdrychiol a ddodant eu dwŷlo ar ben yr etholedig Escob, ac efe yn gostwng o'u blaen hwŷnt ar ei Liniau, a'r Arch-Escob yn dywedŷd.*

DErbŷn yr Yspryd glân i swŷdd a gwaith Escob yn Eglwŷs Dduw, yr hon a roddwŷd yr awr hon i ti, trwŷ Arddodiad ein dwŷlo ni, yn Enw y Tâd, a'r Mâb, a'r Yspryd glân. A chofia ail-ennŷn Dawn Duw, yr hwn sŷdd ynot drwŷ arddodiad ein dwŷlo ni: Canŷs ni roddodd Duw i ni Yspryd ofn, onid Yspryd nerth, a Chariad, a phwŷll.

¶ *Yna yr Arch-Escob a ddŷd atto y Bibl, gan ddywedŷd.*

GLŷn wrth ddarllain, wrth gynghori, wrth Athrawiaethu; myfyria ar y pethau a gynhwŷsir yn y Llyfr hwn. Bydd ddiwŷd ynddŷnt, fel y byddo y cynnŷdd a ddelo trwŷddŷnt yn eglur i bawb. Gwilia arnat dy hun, ac ar yr Athrawiaeth, ac ymddyro i'w gwneuthur, canŷs fellu i'th gedwi dy hun a'r rhai a wrandawant arnat. Bŷdd Fugail, nid Blaidd i ddiadell Crîst: Portha hwŷnt, na thraflyngca hwŷnt. Cynnal y Llêsc, iachâ y clâf, rhwŷma y briwedig: dychwell y tarfedig: Cais y colledig. Fellu bŷdd di drugarog fel na byddech rŷ araf; Fellu gwna lyfodraeth fel na anghofiech dosturi: fel pan ymddangoso y pen bugail a derbynnioch anllygradwŷ Goron y Gogoniant, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. A*men.*

¶ *Yna yr aiff yr Arch-Escob rhagddo ar Wasanaeth y Cymmun; a'r Escob newŷddgyssegru, a Gymmuna gydag ef ac eraill.*

¶ *Ac yn lle y Colect diweddaf, nesaf o flaen y Fendith, y dywedir y Gweddiau hŷn.*

TRugarogcaf Dâd, ni a attolygwn i ti dywallt i wared dy nefawl fendith ar dy wasanaethŵr hwn. Cynnysgaedda ef a'th lân Yspryd, i fôd gan Bregethu

dy

dy Air, nid yn unig yn awŷddus, ar argyoeddi, ymbil, ar geryddu, gyda phôb ammynedd ac athrawiaeth; Ond hefyd i fôd yn esampl iachol i'r ffyddlon-iaid, mewn gwir ymarweddiad, mewn Cariad, mewn ffŷdd, mewn diweirdeb, ac mewn purdeb; fel gan gyflawni yn ffyddlon ei yrfa, a caffo dderbŷn yn y dŷdd diweddaf goron cyfiawnder yn gadwedig gan yr Arglwŷdd y barnwr cyfiawn: Yr hwn sŷdd yn bŷw ac yn teŷrnasu yn un Duw gyda'r Tâd a'r Ysprŷd glân heb drangc na gorphen. *Amen.*

RHag-flaena ni O Arglwŷdd, yn ein hôll weithredoedd, a'th radlonaf hoffder, a rhwŷddhâ ni a'th barhaus gymmorth, fel yn ein hôll weithredoedd dechreuedig, a therfŷnedig ynot ti, y gallom foliannu dy sanctaidd Enw, ac yn y diwedd gael gan dy drugaredd fywŷd tragywŷddol, trwŷ Jesu Grîst ein Harglwŷdd. Amen.

TAngneddŷf Dduw yr hwn sŷdd uwchlaw pôb deall, a gadwo eich calonnau a'ch meddyliau yngwŷbodaeth a chariad Duw a'i Fâb Jesu Grîst ein Harglwŷdd. A bendith Dduw hôll-alluog, y Tâd, y Mâb, a'r Ysprŷd glân a fyddo i'ch plîth, ac a drigo gyda chwi yn wastad. *Amen.*

---

## LLYFR Y PSALMAU.

*Y 1 Dŷdd o'r mîs.*

### BOREUOL WEDDI.

Psalm. 1.

*Beatus vir, qui non abiit.*

GWŷn ei fŷd y gŵr ni rodia yngHyngor yr annuwolion, ac ni saif yn ffordd pechaduriaid, ac nid eistedd yn eisteddfa gwatwar-wŷr.
2 Onid sŷdd a'i ewŷllys ynghyfraith yr Arglwŷdd: ac yn myfyrio yn ei gyfraith ef ddŷdd a nôs.
3 Ac efe a fydd fel pren wedi ei blannu ar lan afonŷdd dyfroedd, yr hwn a rŷdd ei ffrwŷth yn ei brŷd; a'i ddalen ni wŷwa, a pha bêth bynnag a wnêl, efe a lwŷdda.
4 Nid fellu y bŷdd yr annuwiol: onid fel man ûs yr hwn a chwâl y gwŷnt ymmaith.
5 Am hynnŷ yr annuwolion ni safant yn y farn, na phechaduriaid yngbynnulleidfa y rhai cyfiawn.
6 Canŷs yr Arglwŷdd a edwŷn ffordd y rhai cyfiawn: ond ffordd yr annuwolion a ddifethir.

Psalm. 2.

*Quare fremuerunt gentes.*

PA ham y terfysca y cenhedloedd? ac y myfyria y bobloedd bêth ofer?
2 Y mae brenhinoedd y ddaiar yn ymosod, a'r penaethiaid yn ymgynghori ynghŷd, yn erbŷn yr Arglwŷdd, ac yn erbŷn ei Grîst ef, *gan ddywedŷd.*
3 Drylliwn eu rhwŷmau hwŷ: a thaflwn eu rheffynnau oddiwrthŷm.
4 Yr hwn sŷdd yn presswŷlio yn y nefoedd a chwardd: yr Arglwŷdd a'i gwatwar hwŷnt.
5 Yna y llefara efe wrthŷnt yn ei lîd, ac yn ei ddigllonrwŷdd y dychryna efe hwŷnt.
6 Minneu a osodais fy Mrenin ar Seion fy mynŷdd sanctaidd.

7 Mynegaf

7 Mynegaf y ddeddf: dywedodd yr
Arglwŷdd wrthif, fy Mâb ydwŷt ti,
myfi heddŷw a'th genhedlais
8 Gofŷn i mi, a rhoddaf y cenhed-
loedd yn etifeddiaeth i ti: a therfynau
y ddaiar i'th feddiant.
9 Drylli hwŷnt â gwialen haiarn,
maluri hwŷnt fel lleſtr prîdd.
10 Gan hynnŷ'r awr hon frenhin-
oedd, byddwch ſynhwŷrol: barn-wŷr
y ddaiar cymmerwch ddŷſc.
11 Gwaſanaethwch yr Arglwŷdd
mewn ofn; ac ymlawenhewch mewn
dychrŷn.
12 Cuſſenwch y Mâb rhag iddo
ddigio, a'ch difetha chwi o'r ffordd, pan
gynneuo ei lîd êf ond ychydig; gwŷn
eu bŷd pawb a ymddiriedant ynddo êf.

## Pſalm. 3.

*Domini quid, multiplicati.*

ARglwŷdd mor aml ŷw fy nhrallod-
wŷr: llawer ŷw y rhai ſŷ'n codi
i'm herbŷn.
2 Llawer ŷw y rhai ſŷ'n dywedŷd
am fy enaid, nid oes iechŷdwriaeth iddo
yn ei Dduw. *Selah.*
3 Ond tydi, Arglwŷdd, ydwŷt dar-
ian i mi: fy ngogoniant, a derchafudd
fy mhen.
4 A'm llêf y gelwais ar yr Arglwŷdd,
ac efe a'm clybu o'i fynŷdd ſanctaidd.
*Selah.*
5 Mi a orweddais, ac a gyſcais; ac a
ddeffroais; Canŷs yr Arglwŷdd a'm
cynhaliodd.
6 Nid ofnaf fyrddiwn o bobl: y rhai
o amgŷlch a ymoſodaſant i'm herbŷn.
7 Cyfod Arglwŷdd, achub fi fy
Nuw: canŷs tarewaiſt fy hôll elynnion
ar garr yr ên: torraiſt ddannedd yr an-
nuwolion.
8 Iechŷdwriaeth ſŷdd eiddo'r Ar-
glwŷdd: dy fendith ſŷdd ar dy bobl.
*Selah.*

## Pſalm. 4.

*Cum invocarem.*

GWrando fi pan alwŷf, O Dduw fy
nghyfiawnder, mewn cyfyngder yr
ehengaiſt arnaf: trugarha wrthif, ac er-
glŷw fy ngweddi.
2 O feibion dynnion, pa hŷd y trowch
fy ngogoniant yn warth? yr hoffwch
wegi, ac yr argeiſiwch gelwŷdd. *Selah.*
3 Ond gwŷbyddwch i'r Arglwŷdd
nailltuo y duwiol iddo ei hun: yr Ar-
glwŷdd a wrendŷ pan alwŷf arno.
4 Ofnwch, ac na phechwch, ymddi-
ddenwch â'ch calon ar eich gwelŷ, a
thewch.
5 Aberthwch ebŷrth cyfiawnder, a
gobeithiwch yn yr Arglwŷdd.
6 Llawer ſŷ'n dywedŷd, pwŷ a
ddengŷs i ni ddaioni? Arglwŷdd, der-
cha arnom lewŷrch dy wŷneb.
7 Rhoddaiſt lawenŷdd yn fy nghal-
lon, mwŷ na'r amſer yr amlhâodd eu
hŷd, a'u gwîn hwŷnt.
8 Mewn heddwch hefŷd a gorwe-
ddaf, ac yr hunaf: canŷs ti Arglwŷdd
yn unig a wnei i mi drigo mewn di-
ogelwch.

## Pſalm. 5.

*Verba mea auribus.*

GWrando fy ngeiriau Arglwŷdd:
deall fy myfyrdod.
2 Erglŷw ar lêf fy ngwaedd, fy Mre-
nin, a'm Duw: canŷs arnat y gweddiaf.
3 Yn foreu Arglwŷdd y clywi fy
llêf: yn foreu y cyfeiriaf attat, ac yr
edrychaf i fynu.
4 O herwŷdd nid wŷt ti Dduw yn
ewŷllyſio anwiredd: a drwg ni thrig
gyda 'thi.
5 Ynfydion ni ſafant yn dy olwg:
caſeaiſt hôll weithredwŷr anwiredd.
6 Difethi y rhai a ddywedant gel-
wŷdd: yr Arglwŷdd a ffieiddia y gŵr

gwaedlŷd, a'r twŷllodrus.
7 A minneu a ddeuaf i'th dŷ di yn
amlder dy drugaredd: ac a addolaf tu
a'th Deml sanctaidd yn dy ofn di.
8 Arglwŷdd arwain fi yn dy gyfiawn-
der o achos fy ngelynion: ac uniona dy
ffordd o'm blaen.
9 Canŷs nid oes uniondeb yn eu
genau, eu ceudod sŷdd anwireddau:
bêdd agored ŷw eu cêg, gwenieithiant
a'u tafod.
10 Destrywia hwŷnt O Dduw, syrth-
iant oddiwrth eu cynghorion, gŷrr
hwŷnt ymaith yn amlder eu camweddau:
canŷs gwrthryfelasant i'th erbŷn.
11 Ond llawenhaed y rhai ôll a ym-
ddiriedant ynot ti: llafar-ganant yn dra-
gywŷdd, am i ti orchguddio trostŷnt: a'r
rhai a garant dy enw, gorfoleddant ynot.
12 Canŷs ti Arglwŷdd a fendithi y
cyfiawn: â charedigrwydd megis â thar-
ian y coroni di êf.

## PRYDNHAWAOL WEDDI.

### Psalm 6.

*Domine, ne in furore.*

ARglwŷdd na cherydda fi yn dy
lidiawgrwŷdd, ac na chospa fi yn
dy lid.
2 Trugarhâ wrthif Arglwŷdd, canŷs
llesc ydwŷfi: iachâ fi O Arglwŷdd,
canŷs fy escŷrn a gystuddiwŷd.
3 A'm henaid a ddychrynwŷd yn
ddirfawr: titheu Arglwŷdd, pa hŷd?
4 Dychwel Arglwŷdd, gwared fy
enaid: achub fi er mwŷn dy drugaredd.
5 Canŷs ŷn angeu nid oes coffa am
danat: yn y bêdd pwŷ a'th folianna?
6 Deffygiais gan fy ochain, bôb nôs
yr ydwŷf yn gwneuthur fy ngwelŷ yn
foddfa: yr ydwŷfi'n gwlychu fy ngor-
weddfa a'm dagrau.
7 Treuliodd fy llygaid gan ddigter:
heneiddiais o herwŷdd fy hôll elynion.
8 Ciliwch oddiwrthif hôll weithred-
wŷr anwiredd: canŷs yr Arglwŷdd a
glywodd lêf fy ngwŷlofain.
9 Clybu'r Arglwŷdd fy neisyfiad: yr
Arglwŷdd a dderbŷn fy ngweddi.
10 Gwradwŷdder, a thralloder yn
ddirfawr fy hôll elynion: dychweler,
a chywilyddier hwŷnt yn ddilymmwth.

### Psalm. 7.

*Domine Deus meus.*

ARglwŷdd fy Nuw, ynot yr ym-
ddiriedais; achub fi rhag fy hôll
erlid-wŷr, a gwared fi.
2 Rhag iddo larpio fy enaid fel llew:
gan ei rwŷgo, prŷd na byddo gwaredudd.
3 O Arglwŷdd fy Nuw, os gwn-
euthum hŷn, od oes anwiredd yn fy
nwŷlaw.
4 O thelais ddrwg i'r nêb oedd hedd-
ychol a mi: [ ie mi a waredais yr hwn
sŷdd elŷn i mi heb achos. ]
5 Erlidied y gelŷn fy enaid, a goddi-
wedded: sathred hefŷd fy mywŷd i'r
llawr, a gosoded fy ngogoniant yn y
llŵch. *Selah.*
6 Cyfod Arglwŷdd yn dy ddigllon-
edd, ymddercha o herwŷdd llîd fy
ngelynion: deffro hefŷd drosof i'r farn
a orchymmynnaist.
7 Fellu cynnulleidfa y bobloedd a'th
amgylchynant: er eu mwŷn dychwel
ditheu i'r uchelder.
8 Yr Arglwŷdd a farn y bobloedd:
barn fi, O Arglwŷdd yn ôl fy nghyfiawn-
der, ac yn ôl fy mherffeithrwŷdd sŷdd
ynof.
9 Darfydded weithian anwiredd yr
annuwolion, ond cyfarwŷdda di y cy-
fiawn: canŷs y Duw cyfiawn a chwilia
y calonnau, a'r arennau.
10 Fy amddiffŷn sŷdd o Dduw iach-
awdwr y rhai uniawn o galon.
11 Duw sŷdd farnudd cyfiawn,
a Duw sŷdd ddigllon beunŷdd wrth
yr

yr annuwiol.

12 Oni ddychwel yr annuwiol, efe a hoga ei gleddŷf; efe a annelodd ei fwa, ac a'i parodtôdd.

13 Parodtôdd hefŷd iddo arfau angheuol, efe a drefnodd ei saethau yn erbŷn yr erlidwŷr.

14 Wele efe a ymddwg anwiredd, ac a feichiogodd ar gamwedd, ac a escorodd ar gelwŷdd.

15 Torrodd bwll, cloddiodd êf, syrthiodd hefŷd yn y clawdd a wnaeth.

16 Ei anwiredd a ymchwel ar ei ben ei hun: a'i draha a ddescŷn ar ei goppa ei hun.

17 Clodforaf yr Arglwŷdd yn ôl ei gyfiawnder: a chanmolaf enw'r Arglwŷdd goruchaf.

Psalm. 8.

*Domine, Dominus noster.*

ARglwŷdd ein Iôr ni, mor ardderchog ŷw dy enw ar yr hôll ddaiar! yr hwn a osodaist dy ogoniant uwch y nefoedd.

2 O enau plant bychain, a rhai yn sugno y peraist nerth, o achos dy elynnion: i ostegu y gelŷn, a'r ymddialŷdd.

3 Pan edrychwŷf ar dy nefoedd, gwaith dy fysedd, y lloer a'r sêr, y rhai a ordeiniaist.

4 Pa bêth ŷw dŷn i ti iw gofio? a Mâb dŷn i ti i ymwêled ag êf?

5 Canŷs gwnaethost êf ychydig îs na'r angelion: ac a'i coronaist a gogoniant, ac â harddwch.

6 Gwnaethost iddo arglwŷddiaethu ar weithredoedd dy ddwŷlo; gosodaist bôb pêth dan ei draed êf;

7 Defaid, ac ychen ôll, ac anifeiliaid y maes hefŷd:

8 Ehediaid y nefoedd, a physcod y môr: ac sŷdd yn tramwŷo llwŷbrau y moroedd.

9 Arglwŷdd ein Iôr, môr ardderchog ŷw dy enw ar yr hôll ddaiar!

*Yr 2 Dŷdd o'r Mis.*

## BOREUOL WEDDI.

Psalm. 9.

*Confitebor tibi.*

CLodforaf di O Arglwŷdd, a'm hôll galon: mynegaf dy holl ryfeddodau,

2 Llawenychaf, a gorfoleddaf ynot: canaf i'th enw di, y Goruchaf.

3 Pan ddychweler fy ngelynnion yn eu hôl, hwŷ a gwŷmpant, ac a ddifethir o'th flaen di.

4 Canŷs gwnaathost fy marn a'm matter yn ddâ: eisteddaist ar orsedd-faingc, gan farnu yn gyfiawn.

5 Ceryddaist y cenhedloedd, distrywiaist yr annuwiol: eu henw hwŷnt a ddeleaist bŷth bythoedd.

6 Hâ elŷn, darfu am ddinistr yn dragywŷdd, a diwreiddiaist y dinasoedd, darfu eu coffadwriaeth gyda hwŷnt.

7 Ond yr Arglwydd a beru yn dragywdd: efe a barodtôdd ei orsêdd-faingc i farn.

8 Ac efe a farn y bŷd mewn cyfiawnder: efe a farn y bobloedd mewn uniondeb.

9 Yr Arglwŷdd hefŷd fŷdd noddfa i'r gorthrymmedig, noddfa yn amser trallod.

10 A'r rhai a adwaenant dy enw a ymddiriedant ynot: canŷs ni adewaist, O Arglwŷdd, y rhai a'th geisient.

11 Canmolwch yr Arglwŷdd, yr hwn sŷdd yn presswŷlio yn Seion mynegwch ymmŷsc y bobloedd ei weithredoedd êf.

12 Pan ymofynno efe am waed, efe a'u cofia hwŷnt: nid anghofia waedd y cystuddiol.

13 Trugarha wrthif Arglwŷdd, gwêl
fy mlinder gan fy nghaseion, fy nercha
fudd o bŷrth angeu.
14 Fel y mynegwŷf dy hôll foliant
ym mhŷrth merch Seion: llawenychaf
yn dy iechŷdwriaeth.
15 Y cenhedloedd a foddasant yn y
ffôs a wnaethant: yn y rhwŷd a gudd-
iasant, y dalwŷd eu troed eu hun.
16 Adwaenir yr Arglwŷdd wrth y
farn a wna: yr annuwiol a fagiwŷd
yngweithredoedd ei ddwŷlo ei hun.
17 Y rhai drygionus a ymchwelant i
uffern: a'r hôll genhedloedd a anghof-
iant Dduw.
18 Canŷs nid anghôfir y tlawd bŷth,
gobaith y trueniaid ni chollir bŷth.
19 Cyfod Arglwŷdd na orfydded
dŷn; barner y cenhedloedd ger dy
fron di.
20 Gosod Arglwŷdd ofn arnŷnt, fel
y gwŷbyddo y cenhedloedd mai dyn-
ion ydŷnt.

Psalm. 10.

*Ut quid, Domine?*

PA ham Arglwŷdd y sefi o bell, yr
ymguddi yn amser cyfyngder.
2 Yr annuwiol mewn balchder a er-
lid y tlawd: dalier hwŷnt yn eu bwr-
iadau a ddychymmygasant.
3 Canŷs yr annuwiol a ymffrostia am
ewŷllŷs ei galon; ac a fendithia y cy-
bŷdd, yr hwn y mae yr Arglwŷdd yn
ei ffieiddio.
4 Yr annuwiol gan uchder ei ffroen
ni chais Dduw: nid ŷw Duw yn ei
hôll feddyliau êf.
5 Ei ffŷrdd sŷdd flîn bôb amser, uchel
ŷw dy farnedigaethau allan o'i olwg
êf: chwŷthu y mae yn erbŷn ei hôll
elynion.
6 Dywedodd yn ei galon, ni'm symm-
udir, o herwŷdd ni byddaf mewn
drygfŷd, hŷd genhedlaeth a chenhedlaeth.
7 Ei eneu sŷdd yn llawn melldith, a
dichell, a thwŷll: tan ei dafod y mae
camwedd, ac anwiredd.
8 Y mae efe yn eistedd ynghyn-
llwŷnfa y pentrefŷdd, mewn cilfachau
y llâdd efe y gwirion: ei lygaid a drem-
iant yn ddirgel ar y tlawd.
9 Efe a gynllwŷna mewn dirgelwch,
megis llew yn ei ffau; cynllwŷn y mae
i ddal y tlawd, efe a ddeil y tlawd gan
ei dynnu iw rwŷd.
10 Efe a ymgrymma, ac a ymostwng;
fel y cwŷmpo tyrfa trueiniaid gan ei
gedŷrn ef.
11 Dywedodd yn ei galon, anghof-
iodd Duw; cuddiodd ei wŷneb ni
wêl bŷth.
12 Cyfod Arglwŷdd, O Dduw der-
cha dy law: nag anghofia y cystuddiol.
13 Pa ham y dirmyga'r annuwiol
Dduw? dywedodd yn ei galon, nid
ymofynni.
14 Gwelaist hŷn, canŷs ti a ganfyddi
anwiredd, a cham, i roddi tál a'th
ddwŷlo dy hun: arnat ti a gedu y tlawd,
ti ŷw cynnorthwŷ-ŵr yr ymddifad.
15 Torr fraich yr annuwiol, a'r dryg-
ionus; cais ei ddrygioni ef, hŷd na
chaffech ddim.
16 Yr Arglwŷdd sŷdd Frenin bŷth,
ac yn dragywŷdd: difethwŷd y cen-
hedloedd allan o'i dîr êf.
17 Arglwŷdd, clywaist ddymuniad y
tlodion; parodtoi eu calon hwŷnt,
gwrendu dy glust arnŷnt.
18 I farnu yr ymddifad a'r gorthrym-
medig: fel na chwanego dŷn daiarol
beru ofn mwŷach.

Psalm. 11.

*In Domino confido.*

YN yr Arglwŷdd yr wŷf yn ym-
ddiried, pa fôdd y dywedwch
wrth fy enaid, eheda i'ch mynyddoedd
fel aderŷn?

2 Canŷs

2 Canŷs wele, y drygionus a annelant
fŵa, parodtoesant eu saethau ar y
llinyn, i saethu yn ddirgel y rhai uniawn
o galon.
3 Canŷs y seiliau a ddinistrwŷd: pa
bêth a wna y cyfiawn?
4 Yr Arglwŷdd sŷdd yn Nhemi ei
sancteiddrwŷdd; gorseddfa yr Arglwŷdd
sŷdd yn y nefoedd; y mae ei lygaid êf
yn gweled, ei amrantau yn profi mei-
bion dynion.
5 Yr Arglwŷdd a brawf y cyfiawn:
ond câs gan ei enaid êf y drygionus, a'r
hwn sŷdd hoff ganddo drawsder.
6 Ar yr annuwolion y glawia efe
faglau, tân a brwmstan, a phoeth-wŷnt
ystormus: dymma ran eu phiol hwŷnt.
7 Canŷs yr Arglwŷdd cyfiawn a gâr
gyfiawnder: ei wŷneb a edrŷch ar yr
uniawn.

## PRYDNAWNOL WEDDI.

### Psalm. 12.

*Salvum me fac.*

ACHub Arglwŷdd, canŷs darfu y
trugarog; o herwŷdd pallodd y
ffyddloniaid o blîth meibion dynnion.
2 Oferedd a ddywedant bôb un wrth
ei gymmydog; â gwefus wenheithgar,
ac â chalon ddau ddyblig y llefarant.
3 Torred yr Arglwŷdd yr hôll wef-
usau gwenheuthus, a'r tafod a ddywedo
fawr-hydri.
4 Y rhai a ddywedant, a'n tafod y
gorfyddwn: ein gwefusau sŷdd eiddom
ni, pwŷ sŷdd Arglwŷdd arnom ni?
5 O herwŷdd anrhaith y rhai cystudd-
iedig, o herwŷdd uchenaid y tlodion, y
cyfodaf yn awr, mêdd yr Arglwŷdd;
rhoddaf mewn iechŷdwriaeth yr hwn y
magler iddo.
6 Geiriau yr Arglwŷdd ydŷnt eiriau
purion; fel arian wedi ei goethi mewn
ffwrn brîdd, wedi ei buro seith-waith.
7 Ti Arglwŷdd a'i cedwi hwŷnt:
cedwi hwŷnt rhag y genhedlaeth hon
yn dragywŷdd.
8 Yr annuwolion a rodiant o am-
gŷlch: pan ddyrchafer y gwaelaf o feib-
ion dynnion.

### Psalm. 13.

*Usque quo, Domine?*

PA hŷd, Arglwŷdd, i'm anghofi, ai
yn dragywŷdd? pa hŷd y cuddi dy
wyneb rhagof?
2 Pa hŷd y cymmeraf gynghorion yn
fy enaid, gan fôd blinder beunydd yn
fy nghalon? pa hŷd y derchefir fy nge-
lŷn arnaf?
3 Edrŷch, a chlŷw fi, O Arglwŷdd
fy Nuw: goleua fy llygaid rhag i'm
hûno yn yr angeu.
4 Rhag dywedŷd o'm gelŷn, gorch-
fygais êf: ac i'm gwrthwŷneb-wŷr law-
enychu os gogwŷddaf.
5 Minneu hefŷd a ymddiriedais yn
dy drugaredd di, fy nghalon a ymlaw-
enycha yn dy iechŷdwriaeth; canaf i'r
Arglwŷdd am iddo synoi arnaf.

### Psalm. 14.

*Dixit insipiens.*

YR ynfŷd a ddywedodd yn ei galon,
nid oes un Duw? ymlygrasant,
ffieidd-waith a wnaethant; nid oes a
wnêl ddaioni.
2 Yr Arglwŷdd a edrychodd i lawr
o'r nefoedd ar feibion dynnion; i weled
a oedd nêb deallgar, yn ymgeisio a Duw.
3 Ciliodd pawb, cŷd-ymddifwŷnas-
ant, nid oes a wnêl ddaioni, nag oes un.
4 Oni ŵŷr hôll weithredwŷr anwir-
edd? y rhai sŷ yn bwydta fy mhobl
fel y bwŷdtaent fara; ni alwasant ar
yr Arglwŷdd.
5 Yno y dychrŷnasant gan ofn; canŷs
y mae Duw yn genhedlaeth y cyfiawn.
6 Cyngor y tlawd a wradwŷddasoch.
chwi,

chwi, am fôd yr Arglwŷdd yn obaith
iddo.
7 Pwŷ a ddyru iechŷdwriaeth i Iſrael
o Seion? pan ddychwelo yr Argwŷdd
gaethiwed ei bobl, yr ymhyfryda Jacob,
ac y llawenhá Iſrael.

---

*Y 3 dŷdd o'r mis.*

## BOREUOL WEDDI.

### Pſalm. 15.

*Domine, quis habitabit?*

ARglwŷdd pwŷ a drig yn dy babell;
pwŷ a breſſwŷlia ym mynŷdd dy
ſancteiddrwŷdd?
2 Yr hwn a rodia yn berffaith, ac a
wnêl gyfiawnder, ac a ddywed wir yn
ei galon:
3 Heb abſennu a'i dafod; heb wneu-
thur drŵg iw gymydog, a heb dderbŷn
enllib yn erbŷn ei gymmydog.
4 Yr hwn a mae y drygionus yn
ddirmygus yn ei olwg, ond a anrhydedda
y rhai a ofnant yr Arglwŷdd; yr hwn
a dwng iw niwed ei hun, ac ni newidia.
5 Yr hwn ni roddodd ei arian ar uſ-
uriaeth, ac ni chymmer wobr yn erbŷn
y gwirion; a wnelo hŷn nid yſgogir yn
dragywŷdd.

### Pſalm. 16.

*Conſerva me, Domine.*

CAdw fi O Dduw, canŷs ynot yr
ymddiriedaf.
2 Fy enaid, dywedaiſt wrth yr Arg-
lwŷdd, fy Arglwŷdd ydwŷt ti; fy nâ
nid ŷw ddim i ti;
3 Ond i'r ſaint ſŷdd ar y ddaiar,
a'r rhai rhagorawl, yn y rhai y mae fy
holl hyfrydwch.
4 Gofidiau a amlhânt i'r rhai a fryſſi-
ant ar ôl Duw dieithr; eu diod offrwm
o waed nid offrymmaf fi, ac ni chym-
meraf eu henwau yn fy ngwefuſau.
5 Yr Arglwŷdd ŷw rhan fy etif-
eddiaeth i, a'm phiol, ti a gynheli fy
nghoelbren.
6 Y llinynnau a ſyrthiodd i mi
mewn lleoedd hyfrŷd; ie y mae i mi
etifeddiaeth dêg.
7 Bendithiaf yr Arglwŷdd yr hwn
a'm cynghorodd; fy arennau hefŷd a'm
dyſcant y nôs.
8 Goſodais yr Arglwŷdd bôb amſer
ger fy mron; am ei fod ar fy neheu-law,
ni'm yſgogir.
9 O herwŷdd hynnŷ llawenychodd
fy nghalon, ac ymhyfrydodd fy ngog-
oniant; fy nghnawd hefŷd a orphywŷs
mewn gobaith.
10 Canŷs, ni adewi fy enaid yn uff-
ern; ac ni oddefi i'th Sanct weled
llygredigaeth.
11 Dangoſi i mi lwŷbr bywŷd; di-
gonolrhwŷdd llawenŷdd ſŷdd ger dy
fron, ar dy ddeheu-law a mae digrifwch
yn dragywŷdd.

### Pſalm. 17.

*Exaudi, Domine.*

CLŷw Arglwŷdd gyfiawnder; yſtyria
fy llefain, gwrando fy ngweddi o
wefuſau didwŷll.
2 Deued fy marn oddi ger dy fron,
edryched dy lygaid ar uniondeb.
3 Profaiſt fy nghalon, gofwŷaiſt fi y
nôs, chwiliaiſt fi, ac ni chei ddim; bwr-
iedais na throſeddai fy ngeneu.
4 Tuagatat am weithredoedd dynion,
wrth eiriau dy wefuſau yr ymgedwais
rhag llwŷbrau yr yſpeiludd.
5 Cynnal fy ngherddediad yn dy
lwŷbrau, fel na lithro fy nhraed.
6 Mi a elwais arnat, canŷs gwran-
dewi arnai O Dduw; goſtwng dy gluſt
attaf, ac erglŷw fy ymadrodd.
7 Dangos dy ryfedd drugareddau O
achubudd y rhai a ymddiriedant ynot,

rhag y sawl a ymgyfodant yn erbyn dy
ddeheu-law.
8 Cadw fi fel canwyll llygad; cudd
fi dan gysgod dy adenydd,
9 Rhag yr annuwolion, y rhai a'm
gorthrymmant; rhag fy ngelynion mar-
wol, y rhai a'm hamgylchant.
10 Caeasant gan eu brasder, a'i genau
y llefarant mewn balchder.
11 Ein cymmweirfa ni a gylchynasant
hwy yr awr hon, gosodasant eu llygaid
i dynnu i lawr i'r ddaiar.
12 Eu dull sydd fel llew a chwen-
nychei ysclyfaethu, ac megis llew ieuangc
yn aros mewn lleoedd dirgel.
13 Cyfod Arglwydd, achub ei flaen
ef, cwympa ef; gwared fy enaid rhag
yr annuwiol yr hwn yw dy gleddyf di.
14 Rhag dynion y rhai yw dy law,
O Arglwydd, rhag dynnion y byd y rhai
y mae eu rhan yn y bywyd ymma, a'r
rhai y llenwaist eu boliau â'th guddiedig
dryssor; llawn ydynt o feibion, a gad-
awant eu gweddill i'w rhai bychain.
15 Myfi a edrychaf ar dy wynel
mewn cyfiawnder; digonir fi pan ddi-
hunwyf, â'th ddelw di.

PRYDNAWNOL WEDDI.

Psalm. 18.

*Diligam te, Domine.*

CAraf di Arglwydd fy nghadernid.
2 Yr Arglwydd yw fy nghraig,
a'm hamddeffynfa, a'm gwaredudd; fy
Nuw, fy nghadernid, yn yr hwn yr ym-
ddiriedaf; fy nharian, a chorn fy iech-
ydwriaeth, a'm huchel-dwr.
3 Galwaf ar yr Arglwydd canmol-
adwy; felly i'm cedwir rhag fy nge-
lynnion.
4 Gofidion angeu a'm cylchynasant;
ac afonydd y fall a'm dychrynasant i.
5 Gofidiau uffern a'm cylchynasant:
maglau angeu a achubasant fy mlaen.
6 Yn fy nghyfyngder y gelwais ar yr
Arglwydd, ac y gwaeddais ar fy Nuw;
efe a glybu fy llef o'i Deml, a'm gwaedd
ger ei fron a ddaeth iw glustiau ef.
7 Yna y siglodd, ac a crynnodd y
ddaiar, a seiliau y mynyddoedd a gyn-
nhyrfodd, ac a ymsiglodd, am iddo ef
ddigio.
8 Derchafodd mwg o'i ffroenau, a
than a yssodd o'i enau; glo a enynnas-
ant ganddo.
9 Efe hefyd a ostyngodd y nefoedd,
ac a ddescynnodd; a thywyllwch oedd
tan ei draed ef.
10 Marchogodd hefyd ar y Cerub, ac
a ehedodd; ie efe a ehedodd ar adenydd
y gwynt.
11 Efe a wnaeth dywyllwch yn ddir-
gelfa iddo; a'i babell o'i amgylch oedd
dywyllwch dyfredd, a thew-gymmylau
yr awyr.
12 Gan y disclaerdeb oedd ger ei
fron, ei gymylau a aethant heibio; cen-
llysc a marwor tanllyd.
13 Yr Arglwydd hefyd a daranodd
yn y nefoedd; a'r Goruchaf a roddodd
ei lef; cenllysc a marwor tanllyd.
14 Ie efe a anfonodd ei saethau, ac
a'u gwasgarodd hwynt; ac a saethodd
ei fellt, ac a'u gorchfygodd hwynt.
15 Gwaelodion y dyfroedd a welwyd,
a seiliau y byd a ddinoethwyd; gan dy
gerydd di O Arglwydd, a chan chwy-
thad anadl dy ffroenau.
16 Anfonodd oddiuchod, cymmerodd
fi, tynnodd fi allan o ddyfroedd lawer.
17 Efe a'm gwaredodd oddiwrth fy
ngelyn cadarn, a rhag fy nghaseion;
canys yr oeddynt yn drech na mi.
18 Achubasant fy mlaen yn nydd fy
ngofid; ond yr Arglwydd oedd gyn-
haliad i mi.
19 Dug fi hefyd i ehengder, gwar-
edodd fi: canys ymhoffodd ynof.
20 Yr Arglwydd a'm gobrwyodd yn

ôl fy nghyfiawnder; yn ôl glendid fy
nwylo y talodd efe i mi.
21 Canŷs cedwais ffŷrdd yr Argl-
wŷdd: ac ni chiliais yn annuwiol oddi-
wrth fy Nuw.
22 O herwŷdd ei holl farnedigaethau
ef oedd ger fy mron i; a'i ddeddfau ni
fwriais oddiwrthif.
23 Bum hefyd yn berffaith gydag êf;
ac ymgedwais rhag fy anwiredd.
14 A'r Arglwydd a'm gobrwŷodd yn
ôl fy nghyfiawnder; yn ôl purdeb fy
nwylo, o flaen ei lygaid êf.
25 A'r trugarog y gwnei drugaredd;
a'r gŵr perffaith y gwnei berffeithrwŷdd.
26 A'r glân y gwnei lendid; ac a'r
cyndŷn yr ymgyndyni.
27 Canŷs ti a waredi y bobl gyſtudd-
iedig; ond ti a oſtyngi olygon uchel.
28 O herwŷdd ti a oleui fy nghan-
wŷll; yr Arglwŷdd fy Nuw a lewŷrcha
fy nhywŷllwch.
29 Oblegid ynot ti a rhodiais trwŷ
fyddin; ac yn fy Nuw y llemmais
dros fûr.
30 Duw ſŷdd berffaith ei ffordd, gair
yr Arglwŷdd ſŷdd wedi ei buro; tarian
ŷw efe i bawb a ymddiriedant ynddo.
31 Canŷs pwŷ ſŷdd Dduw heb law
yr Arglwŷdd? a phwŷ ſŷdd graig ond
ein Duw ni?
32 Duw ſŷ'n fy ngwregyſſu â nerth,
ac yn gwneuthur fy ffordd yn berffaith.
33 Goſod y mae efe fy nhraed, fel
traed ewigod; ac ar fy uchel-fannau i'm
ſefydla.
34 Efe ſŷ'n dyſcu fy nwŷlo i ryfel;
fel y dryllir bŵa dûr yn fy mreichiau.
35 Rhoddaiſt hefŷd i mi darian dy
iechŷdwriaeth, a'th ddeheu-law a'm cyn-
haliodd, a'th fwŷnder a'm lluoſogodd.
36 Ehengaiſt fy ngherddediad tanaf;
fel na lithrodd fy nhraed.
37 Erlidiais fy ngelynnion, ac a'i go-
ddiweddais; ac nj ddychwelais nes eu
difa hwŷnt.
38 Archollais hwŷ, fel na allent gy-
fodi; ſyrthiaſant dan fy nhraed.
39 Canŷs gwregyſaiſt fi â nerth i
ryfel; daroſtyngaiſt tanaf y rhai a ym-
gododd i'm herbŷn.
40 Rhoddaiſt hefŷd i mi warrau fy
ngelynnion; fel y difethwn fy nghaſeion
41 Gwaeddaſant, ond nid oedd ach-
ubudd; ſef ar yr Arglwŷdd, ond nid
attebodd efe hwŷnt.
42 Maluriais hwŷnt hefŷd fel llŵch o
flaen y gwŷnt, teflais hwŷnt allan megis
tom yr heolŷdd.
43 Gwaredaiſt fi rhag cynhennau y
bobl, goſodaiſt fi yn ben cenhedloedd, pobl
nid adnabûm a'm gwaſanaethant.
44 Pan glywant am danaf, ufuddhânt
i mi, meibion dieithr a gymmerant arn-
ŷnt ymddaroſtwng i mi.
45 Meibion dieithr a ballant ac a ddy-
chrynnant allan o'i dirgel fannau.
46 Bŷw iw'r Arglwŷdd, a bendithier
fy nghraig, a darchafer Duw fy iechŷdwr-
iaeth.
47 Duw ſŷdd yn rhoddi imi allu ym-
ddial. ac a ddaroſtwng y bobloedd tanaf
48 Efe ſŷdd yn fy ngwared oddiwrth
fy ngelynnion. ie ti a'm dercheſi uwch-
law y rhai a gyfodant i'm herbŷn
achubaiſt fi rhag y gŵr traws.
49 Am hynnŷ y moliannaf di o Argl-
wŷdd, ym mhlith y cenhedloedd, ac y
cânaf i'th enw.
50 Efe ſŷdd yn gwneuthur mawr ym-
wared iw Frenin, ac yn gwneuthur truga-
redd iw eneiniog, i Ddafŷdd, ac iw hâd
êf bŷth.

---

*Dŷdd y mis.* 4.

## BOREUOL WEDDI.

Pſalm. 19.

*Cœli enarrant.*

Y nefoedd

Y Nefoedd sŷ yn dadcan gogoniant
Duw: a'r ffurfafen sŷ yn mynegi
gwaith ei ddwŷlo êf.
2 Dŷdd i ddŷdd a draetha ymadrodd:
a nôs i nôs a ddengŷs wŷbodaeth.
3 Nid oes iaith nag ymadrodd, lle ni
chlybuwŷd eu lleferŷdd hwŷnt.
4 Eu llinin aeth drwŷ'r hôll ddaiar,
a'u geiriau hŷd eithafoedd y bŷd: i'r
haul y gosododd efe babell ynddŷnt.
5 Yr hwn sŷdd fel gŵr priod yn
dyfod allan o'i ystafell: ac a ymlawenha
fel cawr i redeg gyrfa.
6 O eithaf y nefoedd y mae ei fyn-
ediad êf allan, a'i amgylchiad hŷd eu
heithafoedd hwŷnt ac nid ymgudd dim
oddiwrth ei wrês êf.
7 Cyfraith yr Arglwŷdd sŷdd ber-
ffaith, yn troi yr enaid: tystiolaeth yr
Arglwŷdd sŷdd sicr, ac yn gwneuthur
y gwirion yn ddoeth.
8 Deddfau yr Arglwŷdd sŷdd un-
iawn, yn llawenhau y galon: gorchym-
mŷn yr Arglwŷdd sŷdd bûr, yn goleuo
y llygaid.
9 Ofn yr Arglwŷdd sŷdd lân, yn
parhau yn dragywŷdd: barnau'r Ar-
glwŷdd ydŷnt wirionedd, cyfiawn yd-
ŷnt i gŷd.
10 Mwŷ dymunol ŷnt nag aur, îe
nag aur coeth lawer: melusach hefŷd
na'r mêl, ac na diferiad diliau mêl.
11 Ynddŷnt hwŷ hefŷd y rhybuddir
dy wâs: o'u cadw y mae gwobr lawer.
12 Pwŷ a ddeall ei gamweddau?
glanhâ fi oddiwrth fy meiau cuddiedig.
13 Attal hefŷd dy wâs oddiwrth be-
chodau rhyfygus, na arglwŷddiaethant
arnaf; yna i'm perffeithir, ac i'm glan-
hêir, oddiwrth anwiredd lawer.
14 Bydded ymadroddion fy ngeneu,
a myfyrdod fy nghalon, yn gymmer-
adwŷ ger dy fron, O Arglwŷdd, fy
nghraig, a'm prynnwr.

Psalm. 20.
*Exaudiat te Dominus.*

GWrandawed yr Arglwŷdd arnat yn
nŷdd cyfyngder: enw Duw Jacob
a'th ddeffynno.
2 Anfoned i ti gymmorth o'r cyssegr:
a nerthed di o Seion.
3 Cofied dy hôll offrymmau: a by-
dded fodlon i'th boeth offrwm. *Selah.*
4 Rhodded i ti wrth fodd dy galon:
a chyflawned dy hôll gyngor.
5 Gorfoleddwn yn dy iechŷdwriaeth
di, a derchafwn faner yn enw ein Duw;
cyflawned yr Arglwŷdd dy holl ddym-
uniadau.
6 Yr awr hon y gwn y gwared yr
Arglwŷdd ei eneiniog, efe a wrendŷ
arno o nefoedd ei sancteiddrwŷdd, yn
nerth iechŷd ei ddeheu-law êf.
7 Ymddiried rhai mewn cerbydau, a
rhai mewn meirch; ond nyni a gofiwn
enw yr Arglwŷdd ein Duw.
8 Hwŷ a gwŷmpasant, ac a syrth-
iasant; ond nyni a gyfodasom, ac a
safasom.
9 Achub Arglwŷdd: gwrandawed y
Brenin arnom, yn y dŷdd y llefom.

Psalm. 21.
*Domine, in virtute tua.*

ARglwŷdd yn dy nerth y llawen-
ycha y Brenin, ac yn dy iechŷd-
wriaeth di, mor ddirfawr yr ymhyfryda.
2 Deisyfiad ei galon a roddaist iddo;
a dymuniad ei wefusau nis gom-
meddaist. *Selah.*
3 Canŷs achubaist ei flaen êf â ben-
dithion daioni; gosodaist ar ei ben êf
Goron o aur coeth.
4 Gofynnodd oes gennit, a rhoddaist
iddo: ie hîr-oes, bŷth ac yn dragywŷdd.
5 Mawr ŷw ei ogoniant yn dy iech-
ŷdwriaeth; gosodaist arno ogoniant a
phrydferthwch.

5 Molant enw'r Arglwŷdd: o her-
wŷdd efe a orchymynnodd, a hwŷ a
grewŷd.
6 A gwnaeth iddŷnt barhâu bŷth yn
dragywŷdd: gosododd ddeddf ac nis
troſſeddir hi.
7 Molwch yr Arglwŷdd o'r ddaiar, y
dreigiau a'r hôll ddyfnderau.
8 Tân a chenllŷſg, eira, a tharth:
gwŷnt yſtormus, yn gwneuthur ei
air êf.
9 Y mynyddoedd a'r brynniau
ôll, y coed ffrwŷthlawn a'r hôll gedr-
wŷdd.
10 Y bwŷſtfilod, a phôb anifail: yr
ymluſciaid, ac adar aſgellog.
11 Brenhinoedd y ddaiar a'r hôll
bobloedd: tywŷſogion a hôll farnwŷr
y bŷd.
12 Gwŷr ieuaingc a gwŷryfon hefŷd:
henaf-gwŷr a llangciau.
13 Molant enw'r Arglwŷdd: o her-
wŷdd ei enw êf yn unig ſŷdd dderch-
afadw: ei ardderchawgrwŷdd êf ſŷdd
uwch law daiar a nefoedd.
14 Ac efe ſŷdd yn derchafu corn ei
bobl moliant ei hôll ſainct, ſef meibion
Iſrael, pôbl agos atto. Molwch yr Ar-
glwŷdd.

## Pſalm. 149.

*Cantate Domino.*

MOlwch yr Arglwŷdd. Cenwch i'r
Arglwŷdd ganiad newŷdd a'i
foliant êf ynghynnulleidfa y ſainct.
2 Llawenhâed Iſrael yn yr hwn a'i
gwnaeth: gorfoledded meibion Seion
yn eu brenin.
3 Molant ei enw êf ar y dawns:
canant iddo ar dympan, a thelŷn
4 O herwŷdd hoffodd yr Arglwŷdd
ei bobl; efe a brŷdfertha y rhai llednais
âg iechŷdwriaeth.
5 Gorfoledded y ſainct mewn gog-
oniant; a chânant ar eu gwlau.
6 Bydded ardderchog foliant Duw
yn eu geneu; a chleddŷf dau-finiog yn
eu dwŷlo.
7 I wneuthur dial ar y cenhedloedd,
a chôſp ar y bobloedd:
8 I rwŷmo eu brenhinoedd â chad-
wŷnau; a'i pendefigion â gefynnau
heirn:
9 I wneuthur arnŷnt y farn ſcrifen-
nedig: yr ardderchawgrwŷdd hŷn ſŷdd
iw hôll ſainct êf. Molwch yr Arglwŷdd.

## Pſalm. 150.

*Laudate Dominum.*

MOlwch yr Arglwŷdd, Molwch
Dduw yn ei ſancteiddrwŷdd;
molwch êf yn ffurfafen ei nerth.
2 Molwch êf am ei gadernid; molwch
êf yn ôl amlder ei fawredd.
3 Molwch êf â llais udcorn: molwch
êf â nabl, ac a thelŷn.
4 Molwch êf â thympan, ac â dawns;
molwch êf â thannau, ac ag organ.
5 Molwch êf â ſŷmbalau ſoniarus:
molwch êf â ſŷmbalau llafar.
6 Pôb perchen anadl molianned yr
Arglwŷdd; Molwch yr Arglwŷdd.

TERFYN.